mayr gwahan. Yr hen pobl i rhoit crefydd Duw, a' Christynogaeth Christ attunt tann elfenay bydol, tann ffiguray, cyscoday, arwyddion, ac amryw ceremoniae, ac ymweini corphorawl. Yn yr hein, a' thann yr hein oi dosparth ai deongl, oe egori ai esponio i ceid pwyll, ac arwyddocaat spryddol am tracwyddawl wollys Duw ay gyfraith, a' dyfodiat Christ mewn cnawt, eu ddioddefaint a' phrynnedigaeth y byt. Pobl y Testament newydd herwydd dyfodiat Christ a gowson rhydit a' gollyngtot o wrth oll ceremoniae, ffiguray, ac eraill, y rhac ddoydedic arwyddion, ac a roir attunt tracwyddawl wollys Duw, y crefydd, ar Christynogaeth yn agoret, ddiymgudd, mewn yspryddolaeth a' gwir yn rhith eu hun. Yn y Testment newydd yr arwyddion ar oll ceremoniae corphorawl a giliasont, a ddarfuont, ac a ddiflannasont. Dau arwydd heb fwy a ordinhaodd Christ i bobl y testment newydd: Bedydd a' Chymmun, ne val y gailw S. Paul Swper yr Arglwydd. Hefyt yr hen testment a' ordinhaodd Duw tros amser i vn genedl, sef ir Iddewon yn vnic: y testment Newydd a gyryd atto oll genhedloedd y byt, heb wahan rhwng nasiwn ai gilied. Bellach may cenytti amcan pam i gelwir y naill yn Hen, ar llall yn Newydd: yn hen am i fot yn dyscu tracwyddawl wollys Duw, y gwir crefydd a' christynogaeth yr hen pobl cyn geni Christ: yn newydd am i fot yn dyscu yr vn peth ir pobl wedy geni Christ: yn hen am i fot yn dyscu vn genhedlaeth yn vnic, sef yr iuddewon: yn newydd, am i fot yn dyscu oll genhedloedd y byt yn ddiwahan. Yn hen am i fot yn dyscu trwy arwyddion elfenay bydol, a' ceremoniae corphorawl: yn newydd am i fot yn dyscu yn olau ddiymgudd trwy yspryddolaeth a' gwir yn i rith i hun. Cymer ef ith law, synnrawd, a' darllain: yma i cei wele ple i buoski gynt, yma i cei ymgydnabot ath hen ffydd, a' Christynogaeth ganmoladwy oedd cenyt gynt. Yma i cei ffydd a ymddiffynaist hyd at tan a'r cleddyf, ac i merthyrwyt dy crefyddwyr ath rei dyscedic gynt yn i chwerel. Ti ... antu...

Popul y Testament newydd

Dau sacrament neu arwydd yn y Testament newydd yn vnic.

Hen. Nevvydd

antur, dierth yw cenyt glowet fot dy hen ffydd di ay hanes or Testament, a' gair Duw: can ys ni welaist irioed y Bibl neu'r Testament yn Gymraeg nac mewn scrifen, nac mewn print. Yn lle gwir ni ffynnodd cenyf irioet gael gwelet y Bibl yn gymraeg: eithr pan oeddwn fachgen cof yw cenyf welet pump llyfr Moysen yn Gymraeg, o fewn tuy * ewythyr ym 'oedd wr dyscedic: ond ni doedd neb yn ystyr y llyfr, nac yn prisio arno. Peth amheus ydiw (ir a wnn i) a ellit gwelet yn oll Cymru un hen Bibl yn Gymraeg ir penn golledwyt ac i speliwyt y Cymru oi oll lyfray, mal i dywedais or blaen. Eithr diammay yw cenyf fot cyn hynny y Bibl yn ddigon cyffredin yn Gymraeg. Perffeithrwydd ffydd y merthyron, eglwyswyr a lleigion a sonnais uchot amdanunt, sy brawf cadarn fot yr Scrythyr 'lan centhynt yn i iaith eu hunain. Can ys nid oes dim cyn ablet i sicrhau ffydd mal i bo gwiw can dyn ddyodef marfolaeth yn i chweryl ac ydiw gair Duw i bo dyn yn i wybot, ac yn i ddyall y hun. Val hynn hefyt i dowait Eusebius de preparatione Euangelica, lib. 9. Predicatum est itaque Euangelium breui temporis spacio in toto orbe terrarum, et Greci et Barbari quæ de Iesu scripta erant patrijs literis patriaque voce exceperunt. Yr efengil (medd ef) a bregethwyt mewn byr amser yn yr oll fyt, ar Groegwyr ar barbariait a erbyniasont yr hyn a scrifennit am Iesu, yn llythrenae, ac yn iaith y wlat. Wrth y geiriay hyn i gallwn ddyall fot y Testament nid yn unic yn iaith y Brytaniait, eithr hefyt yn iaith pob gwlat a gretai i Christ. Y trydydd rheswm yw hwn, may cenym ni yn Gymraeg amryw ymadroddion a' diharebion yn aros fyth mewn arfer a' dynnwyt o berfedd yr scrythyr 'lan, ac o ganol Efengil Christ. Yr hyn sy profedigaeth digonawl fot yr Scrythyr 'lan yr gyffredin ym hen pob bath ar ddyn, pan i dechreuwyt hwynt, a phan i dycbwyt i arfer gyffredinol. Myfi a nota ac a ddyga ar gof yt rai o honynt. Yn sathredic i dywdir, A' Duvv a digon: heb Dduvv heb ddim. O ble i cad hynn o ddysceidieth, ple i mae i wreiddin ae warant

Cyffelip mae Gruff. ap Ieuan ap Lln. Vachan y mae ef yn ei veddwl.

onit hyn yw gyrrat a' chloedigaeth yr oll Scrythyr 'lan: onit hynn i mae 'r prophwydi, a'r psalmae, a'r Testament newydd trwydo yn i ddyscu i gristion o ddyn. Nit rhaid yma fanwyl chwilio am testiolaeth: rheitiach, yw can i bot mor ampl, edrych ya rai a ddewiser, a pha rai, i geisio byr hau'r traythawt, a adawer. Mal hynn i dywait y prophwyt Dauyd,

*Psalm.23.* Yr Arglvvydd sy bigail ym, ni bydd arnaf eisie.

Ef a bair ym orphovvys mevvn porfa 'las, ac am arvvain gar llavv dyfredd arafaidd.

Ef a ymadfertha vy enait, ac am tovvys rhyt llvvybray vnion ir mvvyn eu Envv.

A' phe rhodivvn rhyt glynn cyscot angae, nit ofna ddrwg: am dy vot ti gyda mi: Dy wialen ath ffon hwy am cysurant. &c. Chwi a welwch yn y psalm yma vn o wraidd: y ddihareb sy cenym, ac a glowch yr vn bwyll yn y psalm ac syn y geiriae hynn. A Duvv a' digon. &c. darllain y rhan ddiwaytha or pymet penn o Evangel Mathew, lle i mae Christ Arglwydd yn erchi i ni na bom gofalus am beth yw fwyta, ac yw yfet, ac yw wisco: ac yn eichi y ni cymeryt siampl o adar yr wybr a lili'r meysydd: rhain i mae Duw yn i diwallu o borthiant a gwisc. Ac am hyny i perthynae i ddyn nad amheue ymgeledd a' gallu Duw, a' chredu i cowira ef i addewid, sef i bydd pob peth yn ddiandlawt ir neb a ofalo yn gynta am teyrnas Duw ae chyfiownder. Ac am hyny gwir yw'r ddihareb, A Dvw a' digon. Gwrando yma hefyt hyn a ddowait Christ yn y. ix. pen o Evangel Luc, Beth a dal i ddyn ynill yr oll fyd ae ddistrowio i hun, neu i golli i hun? Canys pvvy bynac a gvvilyddio om pleit i, am geirie: o bleit hvvnvv i cvvelyddia Mab y dyn pen ddelo yvv 'ogoniant. &c. ac velly rhagoch. Yn yr ymadroddion hyn, ac yn y geirie sy nesa o vlaen yr hain yn y penn dovvedic, i gwech gadarnhau y ddarn arall ir ddihareb, sef, Heb Dduvv, heb ddim. Tro bellach at yr. viii. pen o'r Epistel Pawl abostol at y Rufeiniait. Beth ddoydvvnn i gan hynny vvrth y pethae hynn? O bydd Duvv gida ni, pvvy a all fod

*Luc.9.25.*

*Ru.8.31.*

all fod eyn herbyn? Rhwn nid arbedodd i Vab y hun, eithr ac rhoddes troswn ni, pa fodd nas rhydd ef hefyt pob peth y-ni gidac ef? Pid rhaid ym boyni ymhellach i ddwyn ac ddyall yt o ble i tyfodd dihareb y Cymro, A' Duw a digon: heb Dduw, heb ddim. Yn yr Scrythr'lan i mae i gwraidd, ey ha-nas, ae dechreuad; Ond (y fywaeth) cyd bo'r ddihareb yn a-ros y mysc y Cymru, ar geiriae'n gyffredinawl, etto hi a go-lles yn llwyr i ffrwyth. Edrych ar ddull y byd, yno i cei brofe-digaeth. Pac'n gymaynt trachwant y byd heddiw i tir a' da-yar, y aur, ac arian, a' chowaeth, ac na cheir ond yn ana-myl un yn ymddiriet i Dduw, ac yw addaweidion. Trais a lladrad, anudon, dichell, ffalster, a'thraha: a rhain megis a chribynae mae pob bath ar ddyn yn casclu ac yn tynnu atto.

*Ei ddolur tros ei wlad.*

*Bot y Cembru wedy digenedlu y wrth ddywolder eu hynaif*

Pi fawd Duw y byd mwy a dwr diliw: eithr mae chwant da'r byd wedi boddi Cymru heddiw, a' chwedi gyrru ar aball pob cenedd fae arbennic a rhinwedd dda. Canys beth yw swydd ynghymru heddiw ond bach i dynu cnu a chnwd ey gymydoc attaw? beth yw dysc gwybodaeth a' doythineb cyfraith ond drain yn ystlys y cymedogion i beri yddynt gilio hwnt? Ampl ynghymru, ir nas crafta cyfraith, i ceir neuadd y gwr bon-heddig yn noddfa lladron. Padde uwch i mi hyn o gaswir: herwydd prececthu'r caswir ys y yn siars y precethwr: am hy-ny pe tewyngwn bod dynion ny byddwn wasanaethwr Christ, yr hwn y glywaf ey lef yn im clust yn wastat yn sonio, Llefa yn groch, nac arbet: dyrcha dy lais val trwmpet, a'manec im popul eu henwiredd ai pechotcu: nyd ynteu moiach, nyd gweniaith, nyd petheu bodlon. Am hyny y dywedaf, oni bai fraych ac adain y gwr bonheddig ni byddayr ond ychydig la-drad ynghymru. Pi a wn fod boneddigwn o wyr da ac yn ca-sau lladrat, ac yn difa lladron: nid wyfi yn doydet dim yn er-byn yr heini. Pi chafi o ennyt yma fanegi yr anrhaith a wna-eth chwant da byd, ac angrhedinieth i addaweidion Duw ar bob rryw ddyn ynghymru o eisie dysceidieth yr ysctythr'lan, a' chydnabod a' chowirdeb a grymm y ddihareb sy gyffredi-

*Yn erbyn camarver traws swyddogion a' chyfraithwyr hocedus.*

nol yn i mysc, A' Duvv a' digon heb Dduw heb ddim. Yn nesa at hyn, ni a gymerwn yr ymadrodd hwn, sef A' gair Duw yn vcha: ymadrodd cyffredinawl ydyw yn yngwlad i, pann amcano dyn ddoydet, gwneuthyr, neu fyned y vnlle, val hynn i dowait, Mi a wna, mi a ddoyda, neu mi af ir man a'r man a gair Duw yn vchaf. Evengelaidd a' chrystynogaidd yw'r ymadrodd hwn a' chytun ar scrythyr 'lan or lle i ganed ac i magwyt. Can ys vellyn e dowaid y prophwyt Dauyd, Vnion yw gair yr Arglwydd, ae oll weithredoedd ef y ſy ffyddlon, ac ychydig rhag llaw. Trwy 'air yr Arglwydd i gwnaethpwyt y nefoedd ae oll byddinoedd hwy, trwy yſpryt eu enau. Psalm. 33. A'r prophwyt Esai yntau. At y gyfraith ar prophvvydi, oni ddoydant hwy ar ol y gair hwn: hyny fydd am nad oes goleuni ynthunt. Esai. 8. Christ yn y .xxiiii. pen o Mathew. Nef a dayar a gerddant, eithr fyngeiriau i nid ant heibio. A' chrachefn O car neb fi, ef a geidw fyngair i. Io. 14. yn y mannae hyn i mae hawdd gwelet o ble ir hanoedd yr ymadrodd hwn, A' gair Duw yn vcha. Pan ddechreuwyt a' phan ddycbwyt yr ymadrodd hwn i arfer gyffredinawl i tydoedd gair Duw yn anrhydeddus, ac yn fawr y bri arno. Can ys pan ddoyto dyn, A' geir Duvv yn vcha, cymeint yw a' phe doydei, Trwy na bo yn erbyn gair Duw, neu, a gair Duw yn caniadu: neu trwy i vod yn gytun a gair Duw mi a wnaf, neu mi a ddoyda hynn neur llall. Wrth hyn credu i roydoynt yn yr amser hwnnw nad oedd iawn yddynt wneuthr, na doydet dim yn erbyn gair Duw. Dyna ffydd a chrefydd y Cymru gynt a ddyscent wy or scrythyr 'lan, o 'air Duw, ac o Evangel Iesu Christ. Eithyr i ble y tynnodd Eglwys Ruuain hwynt wedy hynny? Yn wir nid i adael gair Duw yn vcha, ond yw ddistyru ae fychanu. Gair Duw a ddywait, Na vvna y tyhun ddelvv gerfedig, na llun dim y ſy'n y nef vchod, neu yn y ddayar iſod, nac yn y dvvr dan y ddaayar; nac ymoſtvvng vddynt, ac na addola hvvynt. Mi allesit rhag cwilidd ddwyn delwae ir Eglwys ai addoli hwynt (me-

*Iaco. 4. 15.*

gis

gis (mae arfer Eglwys Ruuain) ye gadowsit gair Duw yn uchaf.

Can ys un or deg gorchymyn Duw ydyw, Na vvna y ty hun ddelw. &c. yma i cei di weled dichell Antichrist. Ar ol y Senedd neu'r gymanfa yn Constantinopol tan ‡Constantinus yr Emerodr lle i roed. 330. o escopion pan oedd oed Christ saith cant a'. xxxix. ac ar ol ir escopion hynny trwy awdurdot gair Duw wahardd delway tros yr oll Chrystynogaeth, wedi marw Constantin ynghylch pan oedd oed Christ saith cant a. lxxiii. Elen y Uam ef a alwodd cymanfa o. 330. Escopion yn Nicea a' thrwy eiriol Elen yr escopion hynny a ymddiskynnasont ddelway yn erbyn gair Duw, ac a parasont trwy awdurtot gosot delway yn yr Eglwysi, ai addoli hwynt. A' rhac cael or oll fyd vai arnynt hwy neu ey plait, hwynt a barasont tynnu un or dec gorchymyn ymaith, sef hwn oedd yn gwahardd delway, ac i gadw y rhifedi hwy dorasont un gorchymyn yn ddau, sef y gorchymyn diwaytha. Ni allasont wy wneuthyr hynny ynghorph y Bibl ond am y Copiae or. x. gorchymyn a roid allan, ac a ddyscit yn yr Eglwysi, ac i yscolheigion: ni cheit yn un or heini yr ail gorchymyn sy'n gwahardd delway. Y mae cenysi hen copiae i brobi bot hynn yn wir. Hefyd pan oeddwn i yscolhaig val hynn i dyscay'r effeiriait y. x. orchymyn.

*Cwstēnin. Consli o cccxxx. o Escyp, Elen verch Coel Godeboc

*Vnum crede Deū, ne iures vana per ipsum.*
*Sabatha sāctifices, habeas in honore parētes.*
*Ne sis occisor, fur, moechus, testis iniquus.*
*Alterius nuptam, non rem cupies alienam.*

*Decalogus à pp. decurtatus*

Dyma adael allan yr ail gorchymyn Duw yn gyfan, rhac cael cwilidd am i gwaith yn ymddiffin delwae, os goddefit ir pobl wybot a'gwelet, bod gorchymyn Duw yn erbyn delwae

 Val

Val hyn i rhodai Antichrist ae weision air Duw yn isa, ac nid yn vcha mal i roedd ffydd y Cymro gynt yn doydet. A' gair Duw yn vchaf. Y geiriae hyn pwy bynac ae cymer hwy can tho megis canwyll yn i law, hwy a gyhuddan, ac a ddangosan lawer o frynti, ac o oferedd crefydd Ruuain, yr hwn nyd oedd ddim amgen, val ymae'r ddiareb, onid siomi Duw a manach marw: ond ni chaff dario, rhaid i mi dalbyrru'r araith rhac bod yn rhyhir.

*Iaco.1.* Y trydydd ymadrodd cyffredinol y mysc y Cymru a dynnwyt o'r ysgrythr'lan yw hwn, Y mab rhad nid oes yma onid tri gair byr o vn silla bob gair, etto maynt yn cynhwyso llawer o synwyr ac o addisc sprydol, yr hyn i mae'r trydydd penn ar pedwerydd o epystl Pawl at y Ruueiniait, yn benna yn i ddyscu, a llawer man o'r scrythur'lan heb law hynny. Yr vn addysc a gei di yn y geiriau hynn Y Map rhad o i chwilio ai gorosyn: Map rhad i gelwir Christ Iesu am i vod ef trwy'r pridwerth a wnaeth ef trosom ni ar bren Croes, yn purcasu i ni trugaredd y Tad o'r nef i faddau i ni eyn pechodae yn rhad heb i ni ryglyddu dim, heb na thal na gwerth ond yn rhad. Nid am eyn gweithredoedd ni i cyfiownir ni gar bron Duw, eithr yn rhad trwy trugaredd Duw a purcasodd y map rhad i ni.

*Ephes.2.* Ffydd a dycia i ni gan hynny gar bron Duw: can ys ffydd a gymer afael, ac a dderbyn attei, y trugaredd a purcasodd y Map rhad i ni. Am hynn i dowait Pawl Abostol,

*Ro.3.* Barnu i ddym i cyfiownir dynn trwy ffydd heb vveithredoedd y gyfraith. Nid oes dyn ac ni bu irioed a ddichin yn ddiriait yw weithredoedd y hun. Can ys llygredic yw natur dyn ac amperffaith yw i weithredoedd ie mal i dowait y prophwyt

*Esa.64.* Esai mal y cadach budyr ydynt hwy gar bron Duw. Ac am hynny i dowait Christ, Pan ddarffo yvvch vvneuthyr cwbl a'orchymynyt yvvch, doydvvch ych bod yn vvasnaethwyr amproffidiol. Luc.17. Ffydd a dderbyn drugaredd Duw trwy Christ Iesu yn cyfiowni ni gar bron Duw, ac nid gweithredoedd. Ir hynny lle bo ffydd, e fydd gweithredoedd

can

can ys ffrwyth ffydd yw gweithredoedd. O blegit mal na byd tan heb wres: velly ni bydd ffydd heb weithredoedd da. Eithr er hynny y gyt llwyr ith twyllwyttios wyti yn tybait i dichin dy weithredoedd dy gyfiawni di gar bron Duw: ymwrthot ath weithredoedd, cydnebydd ath amhuredd, ath anallu, ymddyro yn gwbl i drugaredd Dduw. Cyfadde yn dy galon a' chred yn gry, yn ffrwythlon, ac yn ddiammau: hyn yw cyrch a chloediggeth yr scrythyr 'lan trwyddi: purcasu o Christ i ti faddenaint dy bechodau yn rhad. Ac am hynny gwir yw gair y Cymro a dynnodd ef gynt o'r scrythyr 'lan, pan alwodd ef Christ, Y Mab rhad. Pid oedd rhaid i ti arf well yn dy law i ymladd yn erbyn Pelagius, ar gaulith ar heresi a osodes ef allan ynghylch puredd natur dyn oi enedigaeth, a' gallu dyn i ymgyfiawni gar bron Duw, trwy gyflewni 'r gyfraith ai weithredoedd i hun: neu yn erbyn Athrawaeth llygredic Eglwys Rufain, a'r yscol awdurion, yn dyscu i ddyn ymgodi or pechawt a wnaeth ef wedi bedydd, trwy benyt, sef dolur calon, cyffes genau, a' thaledigaeth gweithred, (nid wyf yn gwrthot yr un or tri hyn yn i iawn ddyall, ond yn i dyall hwynt wy) i wrthladd yr hain oll nid rhaid arf well nor ddysc a gynhwysir yn y byr eirian hynn, Y Mab rhad, ac yn yr scrythyr 'lan lle i cafas y geiriau hyn i dechreuad ai tadogaeth. Mae cenyf lawer heb law hynn o ddiharebion ac ymadroddion arferedig ymysc y Cymru, sy ae dechreuad, ae hanes o'air Duw. Ac am hynny yn dyllion bod yr scrythyr lan, a' gair Duw yn gyffredinol gynt gidar Cymru mal i mae'r hain. Ni * lafur ni weddia, nid teilwng yddo y fara. Eglwys pawb yn i galon. Cyn ‡ wiried ar Evangel. *Pan nad rryvedd na thyf post aur trwy nen ty yr enwir? Drwg i ceidw diawl y was. I Ddvw i diolchwn gael bwyt gallu i fwytta. Onid pechot gan Delyw y mi. &c. Rhad tuw ar y gwaith, ac eraill or fath hynn. Brys sy arnafi i fynd ir penn rrac sebrdanu 'r darlleydd, ac am hyny nid wyf yn tynnu o hyd, ac yn egori yr hain megis i gwnecithym am y rhai uchot. Llyfr braisc a ellit i wneu-

*Gen. 3. 19.
Tobi. 2. 13.
2. Thessa. 3. 10.
‡Ioan. 21. 24.
*Psal. 10. 5.

i wnenthyr o honyn, a' roe wybodaeth a' goleuni, am hen
sydd y Brytaniait, ac am pob pwnc ac y sy heddiw mewn
ymryson rhwng y Rhufenyddion ar Evangelyddion. Hefyt,
nyd cwbl anghyssón bydei gymeryd yma dessolaeth or Enwe
arveredic cynt ar y Cymbru, megis Abraham, Escop Menew:
Adda Vras, vn or Beirdd: Aaron, vn o bennaethe gwlad Mor
gan: Asaph, Escop llan Elwy, 590. Daniel, yr Escop cyntaf
ym-Bangor, 550. Dauid neu Ddewi, yr Escop cyntaf ym Me
new. 640. Jaco ap Jdwal: Joseph Escop Menew: Matusa
leh: Samuel Beulan, offeirat dyscedic, 640. Samson, y chwe
chet Archescop ar higen ar dywethaf ym-Menew, 560. Sele
Susãna, a'r cyfryw eraill, yr rain y gessir yn bynech yn llyfr
Achey a' Chronic, hen Recordeu, Registreu, a' Siartereu.
A' mi vedwn ddangos ychwi mewn carp o Siarter hen ddy
henydd, y sydd yn perthyn im Escopawt i yma Menew, vn

Noe Brenh. Dyvet neu swydd Pen=vro.

vn ai enw Noe, yn Brenhin Dyvet. Ac na bei ond wrth hynn
y mae yn ddigon credadwy gan pwy pynac a wyr yr arver h
ddyw ar enwy plant yn yr Eglwys cywair-grefydd, vot y
Scrythur 'lan yn wybodedic iawn gã eyn Henafieit ni gyn
O blegit yr vn modd oedd ey defot hwy yn y hamser a'r enw
eu plant ar henweu a ddarlleynt yn yr yscrythur 'lan, ac y
mae'r bobloedd yn awr lle mae'r Scrythur 'lan wedy ei thy
nu yn y hiaith y hunain. May cenyf hefyd ddarn o waith Ta
liessin ben beirdd, a ddychin gossay iti beth or hen fyd a f
gynt: ac efe oedd yn amser Arthur, ac yn amser Maylgwyn
Gwynedd wedi Arthur rhwn ydoedd brenin Bryttayn pa
ydoedd oed Christ ynghylch. 550: val hyn i dowait ef. Gwa

*argyedda, cerydda, veia
‡gorlan

effeiriait byt, nis * angreifftia gvvyt, ac ni phregetha. Gwa
ni cheidvv eu ‡ gail, ac ef yn figail, ac nis areilia. Gvvae n
cheiddvv i ddefait, rhac bleiddie Rhueiniait, ai ffon glv
pa. Jr nad wyf yn amcanu dosparth y penillion hynn ae c
lybu hwynt at 'air Duw yn fanylaidd mal i gellit yn hawd
etto mi a nota i ti ddeubeth ynthynt wy. Vn peth yw hyn: p
marn Taliessin, swydd yr effeiriat yw ceryddu pechot a ph

gethu

gethu. Yn sicir velly i dowait yr scrythyr'lan hefyd. Darllain y lviii. pen o Esai yr Prophwyt, a darllain yr xvi. pen o Evangel Marc lle i dowait Christ wrth i ddyscyblō, a' thrwy ddynt wy wrth effeiriait y byd. Evvch ir oll fyd a' phregethwch yr Evangel i pob creadur, ac velly rhagoch. Ni dowot Christ wrthynt, Ewch ac aberthwch tros y byw ar mairw. Christ i hun a aberthodd i gorph ar pren croes tros pechodau 'r byt, a' thrwy vn vnic offrwm ac aberth i perffeithiodd ef yn dragwyddol yr hai a santeiddier: ny ellir i aberthu ef drachefn: o bleit yno i byddae raid iddo ef farw drachefn. Ac am hynny mae effeiriait Ruuainol yn espelio Christ am i foliant ae'ogoniant, pan gymront wy arnynt aberthu tros y byw ar mairw. Yr yscrythyr'lan syn gwahardd yddynt wy hyn, ac yn gorchymyn yddynt wy pregethu. Hwynt wythe a wnant yr hyn a waharddwyt yddynt, ac nid ymyrant ar hyn a orchymynwyt yddynt. Yr ail peth a nottafi i ti yn y pennillay vchot yw hyn, nad yrowran gynta i bu gwyn yn erbyn traha, a' balchder Ruuain. Can ys mae Taliesin yn doydet yn i amser ef, Gwae ni cheidw i ddefait rhac bleiddiau Ruueniait. Ond mi, mi wn er hyn y gyd o drabel beth y ddywet rrai rryngthyn ac y hunain, a' pha beth ond dywedyt mae newydd yw pop peth a draethir heddyw ynghylch y ffydd neu'r crefydd, ac nad oedd dim ymyd or cyfryw son y to aeth heibio. Wele ynteu gwrandawet y rreini pa dywait vn or hen Veirdd Cymbru (os hen bot ynghylch mil o blynyddeu) nyd amgen Merddin Wyllt yn atep ei chwaer Gwenddydd, yr hon a sygnei wrtho ef val hyn,

> Gorchymynnaf vy * eirioes vrawt ir ‡ Ren
> *Rwy goreu: cymer Gymmun cyn angheu.

*Atep Merddin,*

> Ny chymeraf gymmun gan escymmun
> veneich, ac ei ‡ twygeu ar eu clun:
> am cymmuno Duw ehun.

Ar vn Bardd mewn mytr arall, lle mae ef (megis ac y perthyn

Ebr.10.

*tec
‡Tad Arglwydd
‡hugeu

yw'r dyscedic mal yr oedd ef yn argyweddu y beieu oedd yn benaf yn ei amser, y sef yn y gairieu hyn,

Aballen beren bren addveinus,

Gwascatvot glotvawr buddvawr brydus

yd wnant wyr ramant ryt rwyuanus
celwyddoc · byrcic · beius
A' meneich geuawc, bwydiawc, gwydus:

A' gwesionein ffraeth byt arvaethus. &c.

Welly ynteu nyd gwyr dyscedic yr oes hon a ddechreuodd dywedyt yn erbyn anllywodreth y meneich. Paham gan hynny y buant mor hwyr heb eu cospi? Quia nou dum completæ sūt iniquitates eorum, Am nad oedd y henwiredd hwy eto wedy eu gyflawni neu yn aeddfedd, ac (val y mae'r ddiereb) am may hwyraf dial, dial Duw. Paam y disiawyt hwy mor llwyr or dywedd? Am gyflewni y henwiredd hwy, ac am may llwyraf dial, dial Duw. Ond am Escop Rufain (yr hwn y elwir befyt Pap, val y gelwit gynt *Escopion Escopethen eraill) nyd oes (mi wn yn dda) ny-mawr yn credu bot cam ymwreddiat yn y byt arno, ac na wnaet onyd pig querel arno yn ddiachos ac yn hwyr o amser: yr hwn pe scriuenwn ganved ran yr iawn achosion y sydd yn y erbyn ef, vo dybei yn hwy ei swmp na'r ddarn arall ir llyfr hwn. Ac am hyn rrait y mi yma ymattal yn 'lew rrac mynet ymplith darcuddio y guddfa hono ar hyn o amser. Ac adolwyn ywch ond digon o achos y lesen yn y erbyn oedd na bei ond hyn a graffodd y Prydydd, nac ef y Bardd neu yn hytrach y Prophwyt Cymro, yr vn a ganoedd y penill hwn,

*Ciprian, Epist. 89.

Gwnaeth-pwyt y penill hwn cyn bot yngan yn Lloegr yn erbyn y Pap.

Y Pab, val am yr aberth,
Amen'r gwir y mae er gwerth

Wban, modd vn, nyd oedd hynn yn hanbot o Yspryt iawn ganthaw. Nyd oedd? Onyd oedd y penillion y wnaethoddoedd

ddoedd ef yn nesaf ym blaen hwn yn handot o Yspryt lawn, nyd amgen yrein.

Tydy'r gwan, taw di a'r gwir:
 Arian da a wrandewir.
Ny chair y d'wr uch Caer dyf
 Eisieu arian y Sieryf
Nobl (o bai yn abl o bwys)
 A wna'r cam yn wir cymwys.
Nyd cysled gweled y gwir
 Ar yr wyneb ar anwir.

Ond da a' diwyswol oedd yr hwn a gynghaneddodd y dywedia-den hyn: Ac y mae yn espes genyf mae'r vn gwr (cyd nad yw mor espes genyf ei gosodiat) wnaeth y penillion hyn ar llall. Ef all bot yn espes hefyt gan bawp aei darlleno, may'r vn yspryt a ddatruddiodd ydd val'r Pap a'r beieu eraill. Ac nyd egwan nac annerthawl (Dyw eu gwyr) oedd y yspryt ef pan beiddiai ef y pryd hyny gerydd pen Sieryf gwlat, ac yn ben ddiwadden y Pap yr hwn y alwe deilliait eraill yr oes hono (val y mae byth y sywaeth) yn Dduw daiarol. Ac na bo y nep hwnw yn bwy yscafnder arna bi ymarddel o benillion Bairdd bynghwlad nag ar S. Paul yn eu bregeth yn dinas Athen, sef ymperfedd y gwyr dyscedic pennaf yn yr oll byt, yr hwn y ddywedei yn yr ymadrodd hynn - ficut et quidam vestratium Poetarum dixit, Megis ac y dywedent rrei och Beirdd chwi ychunain. Je a' chredu'r wyf nad mawr anghymesurach y mi adrodd pennill y prydydd hwn a'alw ef yn prophwyt nac y S. Paul 'alw y Groecbardd Epimenides yn prophwyt, ac adrodd gwers neu odl oi waith mewn mytr val hyn,

Diareb ynyl ei wlad am y pap, yw, y bot ym bwy no dyn, ac nyd cystal a Dyw a gwaeth no diabol.

Κρῆτες ἀεὶ ψεῦσται, κακὰ θηρία, γαστέρες ἀργαί.

Titus. i.

Yr hon wers, er nad ydyw onyd saith 'air, odid vydd ei gwneuthur yn llai no phenill yn Cymraec, Eithyr y pwyll'air yn ei gylydd allan o vydr sydd val hyn,

Y Cretaniet bych celwddoc, yscrublieit drwc, bolie muscrell,

Nid af i ymhellach ar hyn o amser i son am y gwyrthiau y geffir gan ymadroddion Cymru, yrei sy gyson a'r scrythyr 'lan. Prawf dilys ydynt wy ir neb ai ystyrio a chalon ddianhydyn, fod hen ffydd y Brytaniait ai gwreiddin yngair Duw, ai hanes o ganol yr scrythyr 'lan. Yon oedd mor gyffredinol yn y mysc hwynt, ac i tyfai ddiharebion, ac ymadroddion trefnus, dyscedic, a gynhwysai ynthynt ergit yr oll scrythyr 'lan ac athrawaeth iachus am lawer pwnc o grefydd Christ. Madws bellach yw tynnu tuar terfyn, a' dibennu. Galw ith cof dy hen fraint ath anrhydedd mawr herwydd ffydd Christ a' gair Duw a erbyniaist o flaen ynysoedd y byt. Crefydd Christ ath harddai am yt i gael yn gowir ac yn bur mal i dyscawdd Christ yw Abostolion ae ddyscyblon: ac yt i gadw yn berffaith ac yn ddilwgr, a' phris gwaed dy ferthyron gwynfydedic. Ni ddigwyddod hyny ir Saeson gynt (yr hei sydd hediw ar yr iawn gwedy ydynt trwy 'ras dderbyn yr Efangel yn groysawus) hwyr ir erbyniasont wy ffydd Christ, ac amhur a' llygredic i cawsant, y tro cyntaf i cawsant. Meddylia faint y cwymp a gefaist o gytuno ar amhuredd a ddug Awstin vanach ir Saeson: ac mal i cydfoddaist gidac wynt mewn tywyllwg a' gauddywiaeth o amser bigilid: Duw o ras yt ras i ddilit ey brddas ae anrhydedd hwynt heddiw, trwy ymchwelyt ir iawn mal i gwnaythont wy eusus. Hefyt cyt byddai bop nasiwn beth goleuni, herwydd trigo ey llyfray gidac wynt etto tydy a ddinoythwyt ac a espeliwyt yn llwyr. Cwymp dithen, ar dy liniay am hynny a diolch i Dduw sy heddiw yn ymwelet a thi yn drugaroc; ac yn dechre dy godi ith hen fraint ath brddas pennaf gynt, trwy dy wneuthyr yn gyfrannog oi 'air bendigedic ef, a' danfon yt' y Testment cysegredic, rhwn a ddengys dy ddiarebion ath ymadroddion vchot i bot yn hen gynefin yt gynt. Am hynny dos rhagot a' darllain. Llyfr yw hwn y bowyt tragwyddol, 'rhwn a dreiglwyt yt yn Gymraeg yn ffyddlon, ac yn gowir, trwy 'ofal a diwdrwydd. Etto o digwydda yt gyfwrdd ac ymbell fai allay ddiainc, naill ai ar

Atcof talgrwn am yr ymadroddion or blaen.

ai ar orgraph, ai camosodiat gair, neu lythyren, neu yn ymryfus gadael gair, neu sillaf allan neu'r cyfryw: maddau hynny: hwn yw'r Testment cyntaf a fu erioet yn Gymraeg yn, a'r printwyr eb ddyall vngair erioed o'r iaith, ac am hyny yn an hawdd yddynt ddeall y Copi yn iawn. Rhoddet Duw yt wollys da: can ys yma i cei ymborth yr enait, a' chanwyll i ddangos y llwybyr ath ddwg i wlat teyrnas nef. Yr hon a caniatto Duw iti ac i minau, trwy eyn Arglwydd Iesu Crist, ir hwn ynghyd ar Tad a'r Yspryt glan i bo mawl a' gogoniant yn oes oesoedd, Amen.

(*)

Apophthegma illius D. Asaphi, a quo postea Episcop. sedes Eluiensis, dicta est Asaphensis. 590.

*Quicunq; verbo Dei aduersantur, saluti hominum inuident.*

Yr araaith y byddei yn vynech yn-genau Sanct Asaph Episcop llan Elwy, DXC.

**Y sawl a wrthladdant 'air Dew, cenvigenu y maent wrth iechyd eneit dyn.**

# At yr oll Cembru

*ysydd yn caru ffydd ei hen deidieu y Bri-*
tanieit gynt: Rat, a' thangneddyf gan Dduw Tat
ein Arglwydd Iesu Christ.

MEgis y mae yn ddiareb gan y metelwyr n
goreu aur yw'r hen, ac mal y dywet yr ein p
ydd yn trino hanas popul y byt, mae gor
cydymaith yw'r hen gydymaith: velly yr w
mod yr ei ys y yn dyval ymdreiglo yn yr Scr
thur 'lan, sy yn dywedyt hwytheu may gore
ffydd yw'r ffydd hen, ys yr vn y prophwytodd y propwyti
hanei, yr hon a ddyscawdd Christ ai Apostolion ir popul yn e
hamser, a'r hon gwedy, a gadarnhaodd y Merthyron a
gwaed, gan testio gyd a hi, a' dyoddef pop artaith yd ange
Ac am hyny gwae'r nep aillw hon yn newydd, o ba vodd byn
y gwnel, ai o anwybod ai trwy wybot, yw dwyllo y hun a
y hudo'r bopul. At y ffydd hon yn ei Epistol yma vchot y m
anrrydedus Tat D.R.D. ail Dewi Menew yn ceisio ei
gohawdd, eich llwybro, ach arwein oll am yr eneit. Nyt g
sw gwedy ef, yn enwedic y vn cyn eiddilet ei ddysc a m
yngan dim yn y devnydd y traethawdd ef o hanaw. Can y
pwy all cael dim bai arnaw, o ddieithyr am yddaw yn ol a
ver S. Paul, ac ymadrodd goisel cydnabyddus megis a llaet
wyt ych porthi chwi (yr ei yn wir nid ydych eto anyd 'rei b
chein yn yr iawn ffydd) neu o ddyeithr yddaw yn ol add
S. Chrysostom eich bwydo chwi mor vanol a mamaeth n
turiol yn bwydo hi phlentyn bop ychydic ac ychydic val
gwelo hi ef ei gwenydu. Eithyr a's chwychwi trwy rat y g
vaethdrin cyfryw laethpwyt a gynnydwch y allu treul
bwyt a vo dwysach a' ffyrfach, bid diau y cewch y roddy g
eich bron y cancho ef a i vroder eich Escyp eraill, trwy ner
Duw, yr hwn ach gwnel yn addas, yn barawt, ac yn wy
yscar y ymborth arno, Amen.

*Eich car o waet yn ol y cnawt, ach brawt ffydd*
*Christ Iesu,* William Salesbury.

## D. Io. Chriſoſt. Archiepiſcop. *Conſtantinopol. in 3. cap. Col.* 405.

AVdite obſecro ſeculares. Comparate vobis Biblia, animæ pharmaca. Si nihil aliud vultis, vel Nouum Teſtamentum acquirite, Apoſtolum, Acta, Euangelia continuos ac ſedulos doctores. Si accedit mæſtitia, huc veluti apothecã introſpice. Hinc tibi ſume ſolamen mali, ſiue damnum euenerit, ſiue mors, ſiue amiſſio domeſticorũ. Imò non introſpice ſolum, ſed omnia iterum atq; iterum verſa, menteq; illa contine. Hoc demum malorum omnium cauſa eſt, quod Scripturæ ignorantur.

## Cygor Sanct Ioan Aur-eneu ir llaicon ai'rei bydol. ccccv.

GWrandewch, atolwc, chwychwi'r lleigion. Mynnwch gahel y-chwi'r Bibl ys mediciniaeth yr eneit. Anyd wyllysiwch ddim angwanec, mynnwch y Testament Newydd o'r hyn lleiaf, yr Epistolae, yr Actae, yr Euangelon, yn 'oystatol ac yn ddyval ddyscyawdwyr y-chwy. O bleit a's dygwydd yt' tristit neu adbyd, edrych y mywn yma ar yr hein megis yn-cell meddiciniaetheu. O ddyma y cymery ymwared ir mallhaint, pa vn pynac vydd ai dygwyddo eniwet yt, ai marwoleth ai collet am tuylwyth. Eithyr na'c edrych y mywn yn vnic, amyn tro a' datro y cwbl oll: a' chynnal yn vevyr yn dy gof. Ac y dalwyrcu, hyn yw achos yr oll ddrygeu, eisieu gwybot yr Scrythurae.

# Gosodiat Llyvrae y Testament *Newydd*, a'niuer eu penneu a'r dalenne.



Christ wrth y popul. Ioan.v. Act.xvij.

**Chwiliwch yr Scrythurae: can's wy[illegible] wy ys y dd yn testolaethu o hano vi.**

# Cyssecrlan *Euangel Iesu *Christ*, ‡*ar ol Matthew.*

## YR AROVMENT.

YN YR HISTORIA hon y escrivenwyt gan Matthew, Marc, Luc, ac Ioan y llywiodd Yspryt Dew yn cyfryw vodd ei calonnau, ys cyd bydent pedwar o niver, er hynny yn effect a defnydd y maent velly yn cydsynnio, mal pe cymmwynit y cwbl y gan un o hanaddwynt. A' chyt bydent wy * yn ystil a modd ar escrivennu yn amgenu, ac weithieu yn aill yn escrivenny yn ehelaethach yr hyn y may'r llall yn ei dalvyrru: er hynny y gyd yn y defnydd a'r destyn y maent wy oll yn tennu tu a'r un terfyn: ys ef yw, y gyhoeddy ir byt ‡ ymgeledd Dduw i ddyn trwy Christ Iesu, yr hwn y rhoddes y Tat megis yn wystyl o'i drugaredd a'i gariat. Ac am hyn y * titlant, ei historia yn Euangel, ys ef yw coelwain, neu newyddion-da, o bleit y Dduw gwplau yn-gweithret yr hyn y obaithent y tateu am danaw. Megis in trubuddir wrth hyn y ymwrthoddot a'r byt, a'i orwagedd, ac a awyddusaf galonau ‡ coskeidio y digymmar drysawr hyn y gynigir yn rhat y-ni: can nat oes na llawenydd, na diddanwch, na changneddyf na * heddwch, na dedwyddit nac iechyt, ‡ amyn yn Iesu Christ, yr hwn yw gwir sylwedd yr Euangel hon, ac yn yr hwn y mae yr oll addewidion yn ie, ac yn amen. Ac am hynny y dan y gair hwn y cymhwysit yr oll Testament Newydd: eithyr yn gyffredin yr arverwn o'r gair hwn am yr historia, y escrivenant y pedwar Euangelwyr, ys y yn amgyffred * dyuodiat Christ yn-cnawt, ei angeu a'i gyuodiat, yr hyn yw ‡ cwpl swm ein iechydwriaeth. Matthew, Marc, a Luc ynt vwy ampl yn * yscythru ei ‡ bywyt a'i varwolaeth: eithyr Ioan ysy yn vwy yn llavurio datcan y ddysc ef, yn yr hyn y gwelir

 yn gy-

*Y gair hwn a arwyddocca gelwain, neu chwedl newydd da, ac a gymerit yma dros yr historia yn yr hon y mae hyfryd genadwri dyvodiat Map Dew y addawyt or dechreat.
*Ys ef yr hon y escrivenwyt ac addyscwyt y gan Matthew.

* o

‡ hoffedd, ffavr

* cnvvant

‡ braicheidio

* llonydd-vvch
‡ anyd

* cnavvdolieth Christ
‡ cyfan

* traethu
‡ vuchdovia

# Yn Argument.

yn gyflawnach swydd Christ, a hefyt rhinweddi barwolaeth a'i gyvodedigeth: can ys eb hyn, er gwybot geni Christ, a'i barw a'i gyvodi, ny wnei ddim lles y ni. Yr hyn beth cyd bo y tri cyntaf yn cyhwrdd a phart, megis y mae ynteu hefyt weithieu yn traethu or historiawl danagiad, eithr Ioan ys ydd yn bennaf yn ymorchwyliaw yn hyn. Ac am hyn mal deonglwyr dyscedicaf yr escribena, wyntwy ysy yn yscythru, megis y corph, ac Ioan 'syn gesot geir bron ein llygait yr enait. Can swydd pa bleit yr unryw a dernia yr Euangel yscrivennedic gan Ioan, yr agoriat yr hwn a agor y drws y ddyall y llaill: can ys pwy pynac a edwyn swydd, rhinwedd a meddiant Christ, a ddarllen yr hyn ysy yn yscrivenedic o Vap Duw y ddaeth y vot yn brynwr y byt, yn buddiolaf. Yr awdhon am hanes yr escryvenwyr yr historia hon, honneit yw map *Publican neu gynnullwr cyllit oedd Matthew, ac a ddywyswyt o ddynaw gan Christ y vot yn Apostol. Marc a dybir ei vot yn ddiscipul i Petr, ac yddaw blannu yr Eccles gyntaf yn Alexandria, lle bu ef varw yr wythvet blwydd o deyrnas Nero. Luc ytoedd † Meddic o Antiochia, ac aeth yn ddiscipul i Paul, a 'chydymddaith yn ei oll drabaelion: e bu vyw bedair blwydd a'phedwar ugain, ac a gladdwyt yn Constantinopol. Ioan oedd yr Apostol rhwn ytoedd yr Arglwydd yn ei garu, map i Zebedeus, a' brawd i Iaco: efe bu barw dr'ugain blynedd ar ol Christ, ac a gladdwyt *wrth ddinas Ephesus.

*Cais

†Physigvvr

*ger llavv, yn emyl, yn agos.

# Efengyl Euangel Iesu Christ * y gan S. Matthevv.

*herwydd, yn ol tractiat

## Pen. j.

¶ Iachae Christ, yn ef yw, y Messiach a addawsit ir tadae, yr hwn a gabat o'r Yspryt glan, ac a aned o Vair vorwyn, a hi wedy hi dyweddio ac Ioseph. Yr Angel yn boddlony meddwl Ioseph. Paam y gelwir ef Iesu, a phaam Emmanuel.

*Y Sul yn ol die natalis Christi*

Lyver * cenedleth Iesu Christ vap Dauid, vap Abrahā, Abraham a ‡ genetlodd Isaac. Ac Isaac a genetlodd Iacob. Ac Iacob a genetloedd Iudas, a ei vroder. Ac Iudas a genetloedd Phares, a' Zara o Thamar. A' Phares a genetlawdd Esrom. Ac Esrom a genetlawđ Aram. Ac Aram a genetlođ Aminadab. Ac Aminadab a genetlođ Naasson. A' Naasson a genetlawdd Salmō. A' Salmō a genetlođ Booz o Rachab. A' Booz a genetlawdd Obed o Ruth. Ac Obed a genetlawdd Iesse. Ac Iesse a genetlawdd Dauid Vrenhin

*iachae
‡enillodd, a gabas
*i Abrahā ganet Isaac: i Isaac bu Iacob. &c



renhin

*Selef

renhin. A'Dauid Urenhin a genetlawdd * Solomon o hon oedd vvreic Urias. A' Solomon a genetlawdd Roboam. A' Roboam a genetlodd Abia. Ac Abia a genetloedd Asa. Ac Asa a genetlawdd Iosaphat. Ac Iosaphat a genetlawdd Ioram. Ac Ioram a genetlawdd Ozias. Ac Ozias a genetlawdd Ioatham. Ac Ioatham a genetlawdd Achaz. Ac Achaz a genetlawdd Ezecias. Ac Ezecias a genetlawdd Manasses. A' Manasses a genetlawdd Amon. Ac Amon a genetlawdd Iosias. Ac Iosias a genetlawdd Iacim. Ac Iacim a genetlawdd Iechonias, a'ei broder yn-cylch amser ei * treigl i Vabylon. Ac yn ol ei treiglo hwy i Vabylon, Iechonias a genetloedd Salathiel. A' Salathiel a genetlawdd Zorobabel. A' Zorobabel a genetlawdd Abiud. Ac Abiud a genetlawdd Eliacim. Ac Eliacim a genetlawdd Azor. Ac Azor a genetlawdd Sadoc. A' Sadoc a genetloedd Achim. Ac Achim a genetlawdd Eliud. Ac Eliud a genetlawdd Eleazar. Ac Eleazar a genetlawdd Matthan. A' Matthan a genetlawdd ‡ Iacob. Ac Iacob a genetlawdd Ioseph gwr Mair, o'r hon y ganet Iesu yr hwn a elwir Christ. A'r oll * genedlaethae o Abraham i Dauid, pedair Cenedlaeth ar ddec: ac o Dauid yd y treigl i'r Babilon, pedair ‡ cenedlaeth ar ddec: ac o'r treigl i Vabylon * yd Christ, pedair cenedlaeth ar ddec. A' genedigaeth Iesu Christ oedd val hyn, wedy dyweddio Mair ei vam a Ioseph, cyn na ei dyvot wy ynghyt, hi a gaed yn veichioc o'r Yspryt glan. Ac Ioseph y gwr hi

* archyswynedigaeth, caethiwed, dugiat, symmud.

‡ Iaco

*oesoedd

‡oes, to

*i

can

can ei bot yn gyfion, ac nad ewyllysei y * enllibio hi, a amcanodd y rhoi hi ymaith * yn ddirgel. A' thra ytoedd ef yn bwriady hynn, ‡ nycha, Angel yr Arglwydd yn ymddangos iddaw trwy *hun, gā ddywedyt, Joseph vap Dauid, nac ofna gymeryt Mair yn wreic y-ty: can ys yr hyn a genetlwyt ynthei, ys ydd or yspryt glan. A' hi a ‡ ddwc vap, a' thi elwy ei Enw ef Jesu: can ys ef a *iachaa ei bopul o ddywrth ei pechatae. A' hyn oll a wnaethpwyt er cyflawny, yr hyn a ddywetpwyt gan yr Arglwydd trwy'r Prophwyt, can ddywedyt, * Nycha, ‡ morwyn a vydd veichioc, ac a ddwc vap, a' hwy alwant y enw ef Emmanuel, yr hwn a's ‡ esponir, a arwyddocaa, Duw gyd a ni. Ac Joseph, pan * ddihunodd o hun, a wnaeth megis y gorchymynesei Angel yr Arglwydd yddaw: ac a gymerawdd ei wreic. Ac nyd adnabu ef hi, yd pan escorawdd hi ar hei map * cyn-enit ac ef alwodd y enw ef IESV.

*hortio
*dan llaw, eb wybot
‡wele
*gwsc, breuddwyt
‡escor ar
*gaidw
*Wele, synna
‡Rhiain, llei-an, gwyry
* dehonglir
‡ ddeffroes o gwscu
*cyntaf-anet

## Pen. ij.

Yr amser, ar lle y ganed Christ. Y Delwinion yn anrhegy Christ. Ef yn ciliaw ir Aipht. Difa yr ei bychein. Joseph yn ymchwelyt i Galilea.

YNo pan anet yr Jesu ym Beth-lehem dinas yn Judeah, yn-diddiae Herod Vrenhin, *nycha, Doethion a ddeuthant or Dwyrain i Gaerusalem, can ddywedyt, P'le mae Brenhin yr Iuddeon y aned? can ys gwelsam y seren ef yn y Dwyrain, a' daethan

*Yr Euāgel ar ddie Ystwyll.*
*wele

y addoly ef. Pan glywodd Herod brenhin hyn, e * gyffroes a' chwbl o Gaerusalem gyd ac ef. Ac ef a alwodd ynghyt yr oll archoffeiriait, ac ‡ yscrivenyddion y popul, ac a ymofynodd ac wynt p'le y genit Christ. Ac wynt a ddywedysont wrthaw, Ym Beth-lem yn gwlad Judeah: can ys val hyn y mae yn escrivenedic trwy'r Prophwyt, Ti thae Beth-lem yn tir Judah nid y lleiaf wyt ymplith Tywysogion Judah: can ys o hanat ti y daw y tywysawc a vyrth vy-popul Israel. Yno Herod * yn gyfrinachol a alwodd y Doethion, ac a ymofynawdd yn ‡ ddiyscaelus pa amser yr ymddangosesei y seren, ac ef y danvones wynt i Veth-lehem, can ddywedyt, Ewch, ac ymofynwch yn ddiyscaelus am y map-bychan, a gwedy ychwi y gaffael ef, manegwch i mi drachefyn, mal y gallwyf vinae ddybot a'i addoli ef. A' gwedy yddynt glywet y Brenhin, wy a ymadawsont: *a'nycha, y seren yr hon a welsent yn y Dwyrein, oes yn myned oei blaen hwy, yd yn y ddeuth a sefyll goruch y lle ydd oedd y map-bachan. A'phan welsant y seren, llawenhay a wnethan a llawenydd mawr dros pen, ac aethont ir tuy, ac a gawsont y dyn-bychan gyd a Mair ei vam, ac a gwympesont ir llawr, ac y addolesont ef, ac a egoresont ei tresawr, ac a offrymesont iddaw anregion, ysef aur, a'* thus a' myrrh. A' gwedy y rhybyddio wy can Dduw trwy hun, nad ‡ ymchoelent at Herod, * ydd aethant trachefyn y'w gwlat rhyd ffordd arall. ¶A' gwedy yddynt ymado, wely Angel yr Arglwydd a ymddangosodd i Joseph trwy

*gynyrfwyt,
‡ ddechrynawdd
*gwyr llen

*ddirgel, dan llaw,
‡llwyr

*ac wely

*yscor coethaf
‡aent
*y dychwelesant

*Yr Euangel ar ddiegwyl y meibion gwirion.*

trwy * hun, gan ddywedyt, ‡Cyvot, a' chymer y mab-bychan a' ei vam, a' * chilia ir ‡Aipht: a' bydd yno yd yny ddywetwyf yty: can ys caisiaw a wna Herod y map-bychan *er ei ddiva. Ac ef pan gyvodawdd, a gymerth y Map, aei vam ‡ o hyd nos, ac a giliodd ir Aipht, ac yno y bu, hyd varwolaeth Herod, ‡yn y gyflawnit yr hynn a ddywetpwyt gan yr Arglwydd trwy'r Prophwyt, gan ddywedyt, O'r Aipht y gelwais vy Map. Yno Herod, pan weles ei * dwyllo gan y ‡ Doethion a ffromawdd yn aruthr, ac ef a ddanvonawdd savvdvvyr ac a laddodd yr oll veibion ar oeddynt ym-Beth-lehem ac yn-cwbyl o hei chyffinydd, o ddwyblwydd oet, a' than hynny * wrth yr amser a ymovynesei ef yn ‡ddichlin ar Doethion. Yno y cyflawnwyt yr hynn a ddywetsit can Jeremias y Prophwyt, gan ddywedyt, Llef a glywet yn Rhama, galar, ac wylofain * a chwynvan mawr: Rachel yn wylo am hei phlant, ac ny vynnei hei chodfforddio, can nad oeddynt. Yno gwedy marw Herod, wele, Angel yr Arglwydd a ymddangoses i Joseph trwy hun yn yr * Aipht, can ddywedyt, Cyvot, a' chymer y bachcen ai vam, a' dos i dir Israel: can varw yr ei oedd yn caisiaw ‡enaid y bachcen. A' gwedy iddo * gyvodi, ef a gymerth y bachcen a'i vam, ac a ddaeth i dir Israel. Eithyr pan glybu ef vot Archilaus yn gwladychy yn Judea yn lle ei dat Herod, e ofnodd vyned ynow: anid gwedy ei rybyddyo gan Dduw trwy * hun, ef a giliawdd i duedday Galilaea, ac aeth ac a drigawdd mewn

*gwsc, breuddwyt
‡Cwyn
*ffo y
‡Egypt
*yw ddiuetha.
‡ar
‡val
*siomi
‡Delwinion
*broydd, therfynae
‡erwydd
*llwyr, graf
*griddfan ochain
*Egypt
‡einioes,
*ddefroi, ddyhuno
*breudwyt

 dinas

‡ val y cyf-

dinas a elwit Nazaret, ‡yn y chyflawnit hynn a ddywedesit trwy 'r Prophwyti nid amgen y gelwit ef yn Nazaraiat.

## Pen. iij.

Swydd, athrawaeth a buchedd Ioan. Cerydd y y Pharisaiait Am ffrwythau edifeirwch. Betyddio Christ yn Iorddonen, A i awdurdodi gan Dduw ei Dat.

A Cyn y dyddiae hyny, y daeth Ioan Vatyddiwr ac a precethawdd yn-diffaith Iudaea, ac a ddywot, Edifarewch: can bot teyrnas nef yn gyfagos. Can ys hwn yw ef am bwy vn y dywetwyt gan y Prophwyt Esaias, gan ddywedyt, Llef * llafarydd yn y diffaith, paratowch ffordd yr Arglwydd: vniownwch y lwybrae ef. A'r Ioan hwnaw oedd ai ddillat o vlew camel, a gwregis o groen yn-cylch ei ‡lwyni; ai vwyt ef oedd * locustae a mel gwyllt. Yno ydd aeth allan atto Gaerusalem ac oll Iudaea, a'r oll wlat ‡ y ddi amgylch Iorddanen. Ac ei batyddiwyt wy gantham yn Iorddonen, gan * gyffessy ei pechotae. A'phan welawdd ef lawer o'r Pharisaiait ac or Sadduceit yn dywot y'w betydd ef, y dywot wrthynt, A genedleth * gwipcroedd, pwy a ch rac rybyddiawdd i ‡ giliaw rac y * digofeint a ddelai: Can hynny dygwch ffrwythae teilwng i ‡edifeirwch. Ac na veddyliwch ddywedyt ynoch eich

*criwr, vn yn llefain

‡llwyfene
*keilogot rhedyn
‡o bop parth
*addef
*nadroedd
‡ffo
*irlonedd, llid, dial ar ddawot
‡wellaat buchedd

eich unain, y mae ‡ genym ni Abraham yn dat i ni: can ys dywedaf ychwi, y * dychon Duw o'r main hyn gyfodi i vyny blant i Abraham. Ac yr awrhō hefyt y gosodwyt y bwyall ar wreiddyn y preniae: can hyny pop pren, ar ny ddwc ffrwyth da, a ‡ dorychir i lawr, ac a * davlir ‡ ir tan. Myvi yn ddiau ach betyddiaf a dwfyr er * edifeirwch, eithyr hwn a ddaw ar v'ol i, ys y gadarnach na myvi, a'ei escidiae nid wyf deilwng y'w dwyn: efe ach betyddia a'r yspryt glan, ac a than. Yr hwn 'sydd ae i vvogr yn ei law, ac a ‡ garth ei lawr, ac a gascl ei wenith yw yscupawr, a nid yr * us a lysc ef a than ‡ diddiffoddadwy. ¶ Yno y daeth yr Iesu o'r Galilaea i Iorddanen at Ioan, yw betyddio y gantho. Eithyr Ioan y * gwrthladdawdd ef, can dywedyt. Mae arnaf eisiae vy-betyddiaw y genyti, a' thi a ddeuy atafi? Yno'r Iesu gan atep, a ddyvot wrthaw, Gad yr awrhon: can val hyn y gwedda y ni gyflawni pop cyfiawnder. Yno y gadawodd yddaw. A'r Iesu wedi ei betyddio, a ddaeth yn y van i vynydd o'r dwfr. Ac wely, y nefoedd a agorwyt iddaw, ac Ioan a welawdd yspryt Duw yn descen val colomben, ac yn dewot arnaw ef. A'nycha, llef o'r nefoedd yn dywedyt, Hwn yw vy caredic Map, yn yr hwn im boddlonir.

‡ y
* gall

‡ dorir, a gymynir
* bwrir
‡ yn
* gwellac buchedd

‡ lana
* gwanus
‡ ny ddiffoddir
* gohardddodd

## Pen. iiij.

Christ yn ymprydio, ac yn cael demptio. Yr Angelion yn gweini iddo. Ef yn dechrae pregethy, Ac yn galw Petr, Andreas, Iaco ac Ioan, ac yn iachay yr oll gleifion.

*Yr Euangel y Sul cyntaf o'r Grawys.*

YNo yr aethpwyt a'r Iesu i vyny ir * diffaithwch, y'w ‡ demptio can ddiabol. A gwedy iddaw * vmprytiaw dd'augain diernot a dau'gain nos, yn ol hynny y newynawdd. Yno y daeth y ‡ temptiwr atto, ac a ddywot, A's ti yw Map Duw, arch ir * ceric hynn ‡ vod, yn vara: Ac yntef atepawdd ac a ddyuod, Mae yn escrivenedic, Nid * trwy vara yn vnic y bydd byw dyn, and trwy pop gair a ddaw o enae Duw. Yno y cymerth diabol ef ir dinas sanctaidd, ac ei gossodes ar binnacul y templ, ac a ddywot wrthaw, A's Map Duw wyt, bwrw dy hun i lawr: can ys yscrivenedic yw, y rhydd ef orchymyn y'w Angelion am danat, ac wy ath * dducant yn ei dwylaw, rhac taro o hanot dy droet wrth garec. Yr Iesu a ddywot wrthaw, Y mae yn escrivenedic trachefyn, Na themptia yr Arglwydd dy Dduw. Trachefyn y cymerth diabol ef i vynyth tra vchel, ac a ddangosodd iddaw oll deyrnasoedd y byt, a'ei gogoniant, ac a ddywot wrthaw, Hynn oll a roddaf y ty, a's cwympy i lawr, a'm addoli i. Yno y dywot yr Iesu wrthaw, * Tynn ymaith Satan: can ys scrivenedic yw, Yr Arglwydd dy Dduw a addoly, ac efe yn vnic a wasanaethy. Yno y gadawdd diabol ef: ‡ a' nycha, Angelion a ddaethant, ac a wnaethant wasanaeth ydd-aw. A phan glybu'r Iesu * ry roddi Ioan, ef a ymchoelawdd i Galilaea, ac a adawodd Nazaret, ac aeth ac a drigodd yn-Capernaum, yr hon'sydd wrth y mor

*anialwch
‡ brobi
* eb vwyta dim
‡ profwr, methlwr,
*main
‡vyned
*gan
*cynhalsant
*Ymdyn
‡ ac wele
*ddelifro

mor yn cyffinydd Zabulon a' Nephthalim: ‡yn y chyflawnit hyn a ddywetpwyt trwy Esaias brophwyt, gan ddywedyt, Tir Zabulon, a'thir Nephthalim vvrth ffordd y mor,* tros Jorddonen Galilaea y Cenetloedd: y popul a oedd yn eistedd yn-tywyllwch, a welawdd oleuni mawr: ac ir ei a eisteddent ‡ym-bro a' gwascot angae, y cyfododd goleuni. O'r pryd hyny y dechreuawdd yr Jesu precethy, a dywedyt, Gwellewch eich bychedd: erwydd bot teyrnas nefoedd yn * dynesay. ‡Mal ydd oedd yr Jesu yn rhodiaw wrth vor Galilea, e ganvu ddau vroder, Simon, yr hwn a elwir Petr, ac Andreas ei vrawt, yn bwrw rhwyt i'r mor (can ys pyscotwyr oeddent) ac ef a ddyvot wrthwynt, * Dewch ar vy ol i, a mi a'ch gwnaf yn pyscotwyr dynion. Ac wy yn y van gan ady y rhwytae, y dilynesont ef. A gwedy y vynet ef o ddynaw, ef a welawdd ddau vroder ereill, Iaco vap Zebedeus, ac Ioan ei vrawt mewn llong gyd a Zebedeus ei tat, yn cyweiriaw ei rhwytae, ac ei galwodd wy. Ac wy eb ohir gan adael y llōg a'ei tat, y ‡ canlynesant ef. Ac yno ydd aeth yr Iesu o amgylch oll Galilaea, gan ei dyscy yn ei Synagogae, a' phregethy Euangel y deyrnas, ac iachay pop haint, a'phob nychtot, ym-plith y popul. Ac aeth * son am danaw trwy oll wlad Syria: ac a ddugesont atau yr oll gleifion, ar oedd yn ‡adwythus o amryw heintiae a chnofeydd, a'r ei cythraulic, ar * ei lloeric ar sawl oedd ar parlys arnyn, ac ef ai iachaodd wy. Ac y canlynawdd ef dyrva vawr o Galilea, ar ‡Decapolis ac o Gaerusalem

‡ mal y cyf-

* y tuhwnt

‡ yngwlae

* yn agos

* Dylinwch vi

‡ dilinesont

* gwendit afiecthyt

* clywedigeth, glod

‡ rhwm

* lleuadigiō

‡ Dectref

*tros

rusalem ac Iudea, ac or gvvledydd * tuhwnt i Ior-
ddonen.

## Pen. v.

Christ yn dyscy pwy rei ys y ddedwydd. Am halen y ddaear a' golauni 'r byd. Am weithredoedd da. Bot Christ yn dawot i gyflawny 'r * Ddeddyf. Pa beth a ddeellir wrth ladd. Cymmod. Torri priodas. Rwyftrae. Yscarieth. Na thynger. Goddef cam. Carv ein gelynion. Perffeithrwydd.

* Gyfraith.

*Yr Iesu

*Yr Euangel ar ddiegwyl yr oll Sainct.*

A Phan welawdd* ef y dyrfa, ef a es-
cenawdd i'r monyth: a'gwedy id-
daw eistedd, y deuth eu ddiscipulon
attaw. Ac ef agorawdd ei enae ac
ei dyscawdd can ddywedyt, Gwyn
ei byt y tlotion yn yspryt: can ys ei-
ddynt teyrnas nefoedd. Gwyn ei byt yr ei gala-
rus, can ys wynt a ddiddenir. Gwyn ei byt yr ei
‡ gwaredigenus: can ys wy a beddianant y ddae-
ar. Gwyn ei byt yr ei'sy arnwynt newyn a'syched
am gyfionder: canys wy a *digonir. Gwyn ei byt
y trugarogion: can ys trugaredd a gaffant. Gwyn
ei byt yr ei glan o galō: can ys wy a welāt Dduw.
Gwyn ei byt yr ei tangnueddefus: cans wy a elwir
yn plāt Duw. Gwyn ei byt yr ei a erlidir er mwyn
‡ cyfiawnder, can ys eiddwynt teyrnas nefoedd.
Gwyn eich byt pan ich * an-bria dynion, a'ch er-
lit, a doedit pop rhyw ddrwc am danoch er vy mwyn
i, ac vvy yn ‡ gelwyddawc. Byddwch lawen a'
hyfryd, can ys mawr yw eich cyfloc yn y nefo-
edd:

‡addwyn

*borthir, ddywellir

‡gwiredd

*capla, te-streulia,

‡euawc

edd: erwydd velly yr erlidiesont wy'r Prophwyti yr ei bu o'ch blaen chvvi. Chwychwi yw halen y ddayar: eithyr a chollawdd yr halen ei blas, a pha peth yr helltire? Ny * thal e mwy i ddim, anid y'w bwrw allan, a'i ‡ sathry * gan bawp. Chwychwi yw golauni'r byd. Dinas a osodir ar ‡ bryn ny ellir hei chuddiaw: Ac * ny oleuant ganwyll, a ei dodi hi dan ‡ lestr, anid * mewn cannwyllbren, a' goleuo a wna hi i bawp ar ys ydd yn tuy. Llewyrchet velly eich goleuni garbron dynion, ‡ yn y welont eich gweithredoedd da chvvi, a' gogoneddy eich Tad yr hwn ys ydd yn y nefoedd. Na thybiwch vy-dewot i ddistrywo'r ‡ Ddeddyf neir Prophwyti. Ny ddaethym y'w destriw, anid y'w cyflawny. Canys yn wir y dywedaf y chwi, yny ddarvo nef a' dayar, ny * phalla vn iod, na thitul o'r Ddeddyf, yn y gwplaer oll. Pwy pynac can hynny a dorro'r vn o'r gorchymynion lleiaf hyn, ac a ddysc ddynion velly, lleiaf y gelwir ef yn teyrnas nef: An'd pwy pynac a ei catwo ac ei dysco i ereill, hwnnw a elwir yn vawr yn-teyrnas nefoedd. Can ys-dywedaf ychwi, any bydd eich cyfiawnder yn ehelaethach na chyfiavvnder y * Gwyr-llen a'r Pharisaiait, nid ewch i deyrnas nefoedd. Clywsoch val y dywetpwyt wrth yr ei gynt, Na ladd: canys pwy pynac a ladd, euoc vydd o varn. Eithyr mi a ddywedaf wrthych, mae pwy pynac a ddigia wrth ei vrawt ‡ eb ystyr, a vydd 'euoc o varn. A' phwy pynac a ddywet wrth ei vrawt, Raka, a vydd 'euoc o * Gyngor. A' phwy pynac a ddywait, Ha ‡ ynvyt, a vydd * 'euoc o dan ysfern. A' chan hyny a's

dugy

*rymia
‡vysyng
*ddynion
‡vynyth, lan
*nyd enynant
‡hob
*ar ganwyllhern
‡val
‡ Cyfraith
*dderbydd, ddianc.
*Scriveny-ddion.

*Yr Euangely vi. Sul gwedy Trintot.*

‡yn anynac
*gwnsli
‡ffwl, ffol
*dellwng.

pempmil o wyr, eb law gwraged a'*rhai bychain

¶ Ac yn y van y cympellodd yr Iesu ei ddiscipu-
lon i vyned mewn llong, a' ‡ myned * trosodd o'e
blaen, tra ddanfonei ef y dyrfa ymaith. A' gwedy
iddo ddanvon y dyrfa ymaith, ef ‡ escennawdd i'r
mynydd vvrtho ehun i weddiaw: a' gwedy y hwyr-
hai hi, ydd oedd ef yno * yn vnic. Ac yno ydd oed
y llong yn-renol y mor, ac a ‡ drallodit gan don-
nae: canys gwynt gwrthwynep ytoedd. Ac yn y
bedweredd gwylfa or nos, ydd aeth yr Iesu at-
wynt, gan rodio ar y mor. A' phan welodd ei ddis-
cipulon ef yn rhoddiaw ar y mor, y cythrwblit wy
gan ddywedyt, *Drychiolaeth yd yw, ac a waedde-
son rac ofn. Ac yny man, yr ymadroddodd yr Ie-
su wrthwynt, gan ddywedyt, ‡ Cymerwch gy-
sir da: Myvi yt yw: nac ofnwch. Yno ydd at-
pawdd Petr ef, ac a ddyvot, Arglwydd, a's ti
yw, arch i mi ddewot atat ar y dwfr. Ac ef
ddyvot, * Dyred. A' gwedy descend o Petr o'r
llong, ef a rodiodd ‡ rhyd y dwfr * i dyvot at yr Ie-
su. An'd pan welawdd ef wynt cadarn, yr ofn-
awdd: a' phan ddechreuawdd ‡ suddo y llefawdd
gan ddywedyt, Arglwydd, * cadw vi. Ac yn y
man yr estendawdd yr Iesu ei law, ac ymavlodd
ynthaw, ac y dyvot wrtho, A dydi ‡ vychan o ffydd
paam * y petruseist? Ac er cynted yd aethon i'r
llong, y peidiawdd y gwynt. Yno yr ei oedd yn y
llong, a ddaethon ac y addolesant ef, gan ddy-
wedyt, Yn wir map Dew yt wyt.

¶ A' gwedi ydyn vyned trosodd, vvy ddaethan
i dir Genezaret. A' phan i adnabu gwyr y van
hon

*plantys
‡thrawenu, threiddio
*trywodd
‡dringodd i vynydh
*wrtho yhun
‡haldienit, a chwelit, wrhit
*Gweledigaeth, Ellyll, Anyspryd.
‡Coeliwch
*Dabre
‡ar
*vyned
‡soddi
*dianc, achup
‡y chydigffydd, dydi wan o ffydd
*yr anghoeliaist, ydd amheuaist, y dowteist?

hono efo, ys dattfonesāt ir wlat hono o y amgylch, ogylch, ac a ddygesont attaw yr ei oll oedd yn gleision. Ac a atolygont iddo gael cyffwrdd ac * emyl yn y wisc ef yn unic: a chynnifer ac a gyffyrddasōn a hi, a iachawyt.

## Pen. XV.

Christ yn escuso ei ddiscipulon, ac yn ceryddy 'r Gwyr llen, a'r Pharisaieit, am dori gorchymyn Dew, gan ei athrawaeth ei hunain. Am y planigin a ddiwreiddir. Pa bethae a halogant ddyn. Christ yn gwarcdy merch y wraic o Canane. Bara 'r plant. Ef yn iachay 'r cleifion. Ac yn porthy pedairmil gwyr, eb law gwragedd a' phlant.

Yno y daeth at yr Iesu y Gwyr-llē ar Pharisaieit, yr ei oedd o Gaerusalem, gan ddywedyt, Paam y * tyr dy ddiscipulon di ‡ arddodiadyr * Henafieit? can na 'olchant ei dwylo, pan bwytaont bara. Ac ef a atepawdd ac a ddybot wrthwynt, A' phaam ydd y-chwi yn ‡ tori gorchymyn Dew gan eich * arddodiad chwi? Can ys Dew a orchymynodd, can ddywedyt, Anrydedda dy dad ath vam: a' hwn a ‡ belltithio tad nei vā, bid ef varw * yr angae. A chwi a ddywedwch, Pwy pynac a ddyweit wrth tad nei vam, ‡ Can y rhodd a offrymir geny vi, y daw lles yty: * er, na's anrhydedda ef ei dad, nei vam, ‡ diuai vydd. Ac vellyn y gwnaethoch 'orthymyn Dew yn over gan eich * arddodiad chwi. A hypocriteid, da y proph-

* hem
* trosa
‡ athrawaeth defod, gosodiad
* Hynafiaid, henurieit
‡ troſſi, trosedду, anghyfreithio
* athrawaeth
‡ emelldigo
* barwolaeth
‡ Trwy
* eyd
‡ digerydd, digavvl.
* athrawaeth

prophwytodd Esaias am danoch-chwi, gan ddy-
wedyt, Nesau mae'r popul hynn atafa'ei gene,
a'm anrhydeddy a'ei gwefusae, a'ei calon 'sy ym-
pell y wrthyf. Eithr ouer im anrhydeddant i, gan
ddyscy yn lle dyscseidaeth 'orchymynnae dynion. Y-
no y galwodd ef y dyrfa attaw, ac y ddybot wrth-
wynt, Clywch a' dyellwch. Hyn *aa y mevvn ir ge-
nae, ny's ‡ haloga ddyn, ‖ anyn yr hyn a ddaw
allan o'r genae, hyny a haloga ddyn.

¶ Yno y daeth ei ddiscipulon, ac y dywedesont
wrthaw, A' ny wyddost i, y * rhwystra Pharisa-
eit wrth glywet yr ymadrodd hwnw? Ac ef a atepodd
ac a ddybot, Pop plannigyn ar ny's plannawdd
vy-Tad nefawl, a ddiwreddir. Gedwch yddynt:
tywysogion deillion ir deillion ynt: ac a's y dall
‡ dywys y dall, y ddau a gwympant i'r ffos.

¶ Yno ydd atepawdd Petr, ac y dywot wrthaw,
*Deonglyni y parabol hwn. Yno y dyuot yr Iesu,
ytych chwi etwa eb ddyall? Any * wyddoch vwi, e-
mai pop peth pynac aa ymewn ir genae, iddo y-
ned ir boly, ac a bwrir allan ir * gaudy? Eithr y pe-
thae a ddant allan o'r genae, 'sy yn dybot o'r galon
ac hwy a halogant ddyn. Can ys o'r galon
daw meddyliae drwc, ‡ lladd-celanedd, tor-pri-
odas, * godinebeu, lladrat, ffalsdestiolaeth, cabl-
airiae. Yr ei ‡ hyn yw'r pethae a halogant ddyn:
an'd bwyta a dwylo eb ‡ 'olchi, nyd haloga ddyn.

¶ A' Iesu aeth o ddyno, ac a dynodd i duedd
Tyrus a' Sidon: A' nycha, gwraic o Canaan
ddaeth or * goror hynny, ac a lefawdd, can ddywe-
dyt wrthaw, Trugarha wrthyf, Arglwydd, v-

Dauid

*ar el
‡budredda
*trangwyddir
‡arwein.
*Esponia,
Manec
‡ddyellwch
*coddyn
*ffornigrwydd
‡ymolchi
*Yr Eu.gel yr ail Sul or Grawys*
*parthae

Dauid: y mae vymerch i mewn poen resynawl gan gythraul. Eithyr nyd atepawdd ef yddi vn gair. yno y daeth ei ddiscipulon ataw, ac a atolygesont iddo, can ddywedyt, *Danvon y hi ymaith canys mae hi yn llefain ar ein h'ol. Ac ef a atepawdd, ac addyvot, Ni'm danvonwyt i anid at ddevait colledic tuy'r Israel. Er hyny hi a ddeuth ac y addolawdd ef, can ddywedyt, Arglwydd cymporth vi. Ac ef a atepawdd, ac a ddyvot, Nid ‡da cymeryd bara'r plant a'ei vwrw ir * cwn. Hithae a ddyvot, Gwir yw, Arglwydd: er hyny mae'r cwn yn bwyta yr briwision a syrth *y ar vort y'h arglwyddi. Yno ydd atepawdd yr Iesu. ac ydyvot wrthei. Ha wreic, mawr yw dy ffydd: bid y-ty, mal y mynych. A'hei merch a iachawyt yn yr awr honno.

Ac velly yr aeth yr Iesu o yno, ac y daeth gyr llaw mor Galilaea, ac a escendodd ir mynyth, ac a eisteddawdd yno, Ac a ddaeth ataw dyrvae mawrion a' chanthwynt gloffion, deillion, mudion, ‡anafusion, ac eraill lawer, ac eu bwriesont y lavvr wrth draet yr Iesu, ac ef y iachaodd hwy, yny ryveddawdd y dyrva, weled y mution yn dywedyt, yr anafusion yn iach, a'r cloffion yn *cerddet, ar daillion yn gweled: a' gogoneddy Dyw yr Israel a wnaethont. Yno y galwodd yr Iesu ei ddiscipulon attaw, ac a ddyvot, Ydd wyf yn tosturio wrth y dyrfa hon, can ydd yn aros gyd a mi er ys tri-die bellach, ac nad oes ganthyn ddim yw bwyta: a'i ‡gellwng vvy * ar ei ‡ cythlwng ny's * ewyllysaf, rac ei ‡ ffeintio ar y ffordd. A' ei ddiscipulon a ddy-

*Gelwng
†iawn
*cynavon, cwnach
*o odiar bwrdd
‡efryddion
*rhodio
‡yn newynoc
*maddae yn weigiō
‡yn dibwyt
*gwnaf
‡gloesygy, llesmeirio

 vot

bot wrtho, O b'le y caem ni ‡ gynniver o vara yn y diffeith vvch, ac y caffei dyrva gymeint, ei gwala? Ac a ddywot yr Iesu wrthynt, Pasawl torth y genwch? A'hvvy dywedesont, Saith, ac ychydic *byscod-bychain. Yno y gorchymynnod ef ir dyrva eistedd i lavvr ar y ddaiar. A' chymerawdd y saith torth, a'r pyscos, ac a ddiolchawdd, ac eu torrawdd, ac ei rhoes ‡ at ei ddyscipulon, a'r discipulon i'r dyrfa. Ac vvy o'l a vwytesont, ac a gawson ddigon: ac y godesont, o'r briwfwyt oedd yn gweddill saith * vascedeit. A'r ei vesyn yn bwyta oedd pedeirmil o wyr, eb law gwragadd a' phlantys. Yno ydd anvones yr Iesu y dyrfa y ffordd, ac a aeth y long, a ddaeth i ‡ barthe Magdala.

‡gymeint
*byscodyne
‡yw
*cawelleit
‡gyffinydd
randiroed,
duedde bro,
ardal,

## Pen. xvj.

Y Pharisaieit yn gofyn arwydd. Yr Iesu yn rhybyddiaw ei ddiscipulon rac athrawaeth y Pharisaieit. Cyffes Petr. Egoriadae nef. Bod yn angenraid ir ffyddlonion ddwyn y groes. Colli neu gael y bywyt. Dinodiat Christ.

No y deuth y Pharisaieit a'r Saducaieit, ac y temptesant ef, gan geisiaw gantharw ddangos yddyn arwydd o'r nef. Ac ef a atepawdd, ac a ddywot wrthynt, Pan vo hi *yn hwyr, y dywedwch, Hi vydd *Towydd tec: can bot yr wybr yn goch. A'r borae y dyvvedvvch, Heddiw y bydd ‡ tempestl, can bot *yr wybr yn goch ac yn ‡ drist. A'hypocriteit

‡brydnawn
echwydd
*Hindda
‡dryc-hin
*y nef, ffyrvaven
‡brudd

pocriteit, wynep yr wybr a vedrwch i y *varny, ac a ny vedrwch varny am arwyddion yr amserae? Egais y genedleth ‡drwc a'r odinabus *arwydd, ac arwydd ny's roddir idi n amyn arwyd, y Prophwyt Jonas: ac velly y gadawodd ef wy, ac y tynnawdd ymaith.

¶A' gwedy dybot ey ddiscipulon i'r lan arall, ef aithei eb gof ganthynt gymeryd bara y gyd ac wynt. A'r Jesu a ddybot wrthynt, Edrychwch, a'mogelwch rhac ‡leven y Pharisaieit a'r Sadducaieit. Ac wy a *beddyliason ynddyn y vnain gan ddywedyt, Hyn sy am na ddygesam bara. A'r Jesu yn gwybot y peth, a ddybot wrthynt, Chwychwy o ‡ffyd bechan, paam y medyliwch ynoch eich hun, sef can na dygesoch bara? Anyd ychvvi yn dyall eto, nac yn cofio y pemp torth, pan oedd pemp mil popul, a' pha sawl basgedeit a gymresoch? Na'r saith torth pan oedd saith mil popul, a' pha sawl cawelleit a gymeresoch? *Pa'm na ddyellwchvvi, mae am y bara y dywedeis wrthych, ar ymogelyd o hanoch rac leven y Pharisaieit a'r Sad-ducaieit? Yno y dyellesont wy, na ddywedesei ef am ymogelyd o hanynt rac lefen bara, namin ‡rac athrawaeth y Pharisaieit a'r Sad-ducaieit.

¶A' gwedy dybot yr Jesu i duedae Caisar Philip e a ovynnodd y'w ddiscipulon, Pwy *y dywait dynyon vy-bot i Map y dyn? Ac wy a dywedesont Rei a dywait ‡mae Joan batydiwr: a'rei mae Helias ac eraill may Jeremias, * ai vn or Prophwyti. Ac ef a ddybot wrthwynt, A' phwy ‡meddwchwi yw vi? Yno Simon Petr a atepawdd, ac a ddybot, Ti

* ddyall, ystyried, synniaw, adnabot.
‡ en wir, anvad
* argoel
‡ surdoes
* rysymeson yn ei plith
‡ wanffydd
* P'odd
‡ ylwrth ddysc
*Yr Euãgel ar ddydd S. Petr Apostol.*
* medd
‡ taw
* neu
‡ ddywedwch

yw'r Christ Map y Duw byw. A'r Iesu a atepawdd, ac a dywot wrthaw *Gwyn dy vyt ti Simon vap Ionas can nat cic a'gwaet ei dangosawdd yty eithyr vy-Tat yr hwn ys ydd yn y nefoedd. A mi a dywedaf hefyt yty, mae ti yw Petr, ac ar y ‡pen hynn yr adailiaf veu Eccles: a'phyrth yffern ny's ‡gorvyddant y hi. Ac y-ty y rhoddaf *egoriadae teyrnas nefoedd, a' pha beth bynac a rwymych ar y ddaear, a vydd rwymedic yn y nefoedd: a pha beth bynac a ellyngych ar y daear, a vydd gellyngedic yn y nefoedd. Yno y gorchymynawdd ef y'w ddiscipulon, na ddywedent i nep mai efe oedd Iesu y-Christ.

O hyny allan y dechreawdd yr Iesu *dangos y'w ddiscipulon, vot yn ‡ angenraid iddo vyned i Caerusalem, a' dyoddef llawer gan yr Henafieit, a' chan yr Archoffeiriait, a'r Gwyr-llen a'ei ladd, a' *chyfody y trydydd dydd. Yno Petr a'i cymerth ef or ‡ nailltuy, ac a ddechreawdd y *gerydd y ef, gan ddywedyt, Arglwydd, ‡ trugarha wrthyt tyun: ny's bydd hyn y-ty. Yno ydd ymchoelodd ef trach i gefyn, ac y dywot wrth Petr, *tynn ar v'ol i Satan: can ys rhwystr wyt ymy, can na ddyelly y pethae sy o Dduw, namyn y pethae sy o ddynion. Yno y dywot yr Iesu wrth ei ddiscipulon, A's ‡ dilyn nep vi, ymwrthoted y vn, a chymered ei *groe a' dilyned vi. Can ys pwy bynac, a' wyllysio gadw ei ‡ vywyt, ei cyll: a' phwy pynac a gollo ei vywyt om pleit i, a ei caiff. Can ys pa les i ddyn, er ennill yr oll vyt, a *chyll ef y enaid y hun? nei pa beth a rydd dyn yn ‡ gyfnewyt dros ei

*Ys dedwydd wyt
‡ graic
*gorchvyggnt
*allwydae
‡ venegy
*ddir
‡ chwnny
*wrtho ehũ yn 'ohanredawl
‡ bydd well
*does ffwrth y wrthyf
‡ canlyn
*groes
‡ eintoes, enaid, hoedyl
‡ dal

ei Dat y gyd a'ei Angelyon, ac yno y rhydd ef i bop dyn erwydd ei weithredoedd. Yn wir y dywedaf ychwi, bot rhei o'r sawl'sy yn sefyll yma, ar ny *chwaethant angae, nes yddyn welet Map y dyn yn dyvot yn ei deyrnas.

* vlasant, phrovant

## Pen. xvij.

Ymrithiat Christ ar vynydh Thabor. Ufyddus yw gwrandaw Christ. Am Elias ac Joan Vatyddiwr. Ef yn iachay dyn lleuadglaf. Grym ffydd. Ympryd a'gweddi. Christ yn rhacvenegi am ei ddyoddefaint. Ef yn taly teyrnget.

AC ar ol chwech diernot, y cymerawdd yr Iesu Petr, ac Iaco, ac Ioan ei vrawt, ac y duc wy i vynydd i vonyth vchel *o'r naillty, ac ymrythiodd geyr y bron wy, ac a *dywynnodd y wynep ef val yr haul, a'ei ddillat oedd ‡mor gannaid a'r goleuni. A'nycha, Moysen ac Elias, yn ymddangos yddynt, yn ymddiddan ac ef. Yno yd atepawdd Petr, ac y dyvot wrth yr Iesu, Arglwydd, da yw i ni vot yma: a's ewyllysy, gwnawn yma dri phebyll, vn i ti, ac vn i Moysen, ac vn y Elias. Ac ef eto yn ymadrodd, nycha wybren olau yn ei gwascodi hwy: nycha, lef o'r wybren yn dywedyt, Hwn yw vy-caredic Map, yn yr hwn im bodolonit: *clywch ef. A' phan glybu y discipulon hyny, y cwympesont ar ei hwynebae, ac a ofesont yn ddirvawr: Yno y daeth yr Iesu, ac ei cyhyr

* worthyn y hun, yn anwahanredawl
* discleirsod
‡ cyn wynned
* gwrandeirch arno ef

ddodd wy, ac a ddywot, * Cyfodwch, ac nac ofnwch. A' chwedy yddynt dderchafael ei ‡ llygaid ny welsant nep anyd yr Iesu yn * vnic.

¶ A' mal y descendent o'r mynyth, y gorchymynnawdd yr Iesu yddyn gan ddywedyt, Na ddywedwch y weledigaeth i nep, yny chyvodo Map y dyn o veirw. A' ei ddiscipulon a ovynawdd iddo, gan ddywedyt, Pa'm gan hyny y dyweit y Gwyrllen vot yn * rait i Elias ddyvot yn gyntaf? A'r Iesu a atepawdd ac a dywot wrthyn, Diau y daw Elias yn gyntaf, ac yr ‡ edvryd ef o'l. Eithr mi ddywedaf ychwi, ddyvot o Elias * eisioes, ac na's adnabuont vvy ef, a' gwneythyd o hanynt yddo beth bynac a vynesont: velly y ‡ bydd i Vap y dyn ddyoddef ganthwynt vvy. Yno y dyellodd y discipulon y vod ef yn dywedyt wrthwynt am Ioan Vatyddiwr.

¶ A' gwedy eu dyvot at y dyrva, y daeth ataw ryvv ddyn, ac * aeth ar ei'liniae iddo, ac a ddywot, Arglwydd, trugarha wrth vy map: can yvot ef yn ‡ lloeric, ac ydd ys yn ddrwc wrthaw: can ys mynech y cwymp ef yn tan, a' mynech yn y dwfr. A' mi y dugym ef at dy ddiscipulon di, ac ny allasant wy y iachay ef. Yno ydd atepawdd yr Iesu, ac y dywot, A genedleth, anffyddlawn a' * thrawsedic, pa hyd bellach y byddaf gyd a chwi? pa hyd bellach ych dyoddefaf? dugwch ef yma ataf i. A'r Iesu a ‡ geryddodd y cythrael, ac ef aeth allan o hanaw: a'r bachcen a iachawyt yn yr awr hono. Yno y daeth y discipulon at yr Iesu * wrtho ehun, ac a ddywedesont, Paam na allem ni vwrw ef allan?

* Cwnnwch
‡ golwc
* wrtho y vn
* ddir
‡ adver bop peth
* yr awrhon, weithian, bellach
‡ dervydd
* benliniodd, ostyngodd
‡ lleuadic
* thrawsus, gwrthnysic
‡ ys dwrdiodd
* or neilltu

llan? A'r Iesu a ddyvot wrthwynt, O bleit eich ancrediniaeth: canys yn wir y dywedaf y chwi, pe bei y chwi ffydd cymeint ac yvv gronyn mwstard chvvi ddywedwch wrth y mynyth hwn, Ysymud o ddyma draw, ac ef a ysymuta: ac ny bydd dim * ampossibil ychwy. An'd nyd a allan y rhywiogeth hwn, amyn gan weddi ac vmpryd.

¶Ac val ydd oeddent vvy yn ‡ aros yn-Galilaea y dyvot yr Iesu wrthwynt, Ef a dderbydd rhoddi Map y dyn yn-dwylo dynion, ac vvy ei lladdant, * a'r trydydd dydd y cyfyd ef: a' thristay a wnaethant yn ddirfawr.

A' gwedy ey dyvot i Capernaum, yr ei oedd yn derbyn arian y deyrnget, a ‡ ddaethant at Petr, ac a ddywedesont, Any'd yw eich athro chvvi yn taly teyrnget? Ef a ddyvot, Ydyw. Ac wedy y dyvot ef ir tuy, yr Iesu a ei rhac ‡ vlaenodd ef, gan ddywedyt, Beth a * dybygy di Simon? ‡ Y gan bwy y cymer Brenhinedd y ddaiar deyrnget, nei * dreth? y gan ei plant, ai gan estronieit? Petr a ddyvot wrthaw, y gan estranieit. Yno y dyvot yr Iesu wrthaw, Gan hyny y mae'r plant yn ‡ rhyddion. Er hyny, rac y ni y rhwystro hwy, does ir mor, a' bwrw bach, a' chymer y pyscotyn cyntaf a ddel i vynydd, ac wedy yt' agory ei * eneu, ti a gai ddarn o vgein ceinioc: cymer hynny a' dyro drosof vi a' thi.

* analluaidd
‡ trammwy, cyniret
* eichwyr y
‡ dreth, ceiniogen pen
‡ achubodd
* meddi
‡ Pwy gan
* arian pen
‡ breiniol
* safn

## Pen. xviij.

Y mwyaf yn teyrnas nef. Ef yn dyscy ei ddiscipulon y vot yn

wyddyon ac yn ddiniwed. Ymoglyd rhac achosiaw drwc Na thremyger yr hai bychain. Paam y daeth Christ. Am gosp broderawl. Am awturtot yr Eccles. Moliant gwedi a' chynulleidfae dwywol. Am vaddeuant brawdol.

*Yr Euangel ar ddydd Mihacael.*

YR amser hynny y deuth y discipulon at yr Iesu, can ddywedyt, Pwy 'sy vwya yn-teyrnas nefoedd? A'r Iesu a alwawdd ataw * bachcenyn, ac ei gosodes yn ei ‡ cyfrwng, ac a dywot, Yn wir y dywedaf wrthych, a ddieithyr eich * ymchweyt, a' bot mal ‡ bachenot nid ewch i deyrnas nefoedd. Pwy bynac can hyny a ‡ ymestyngo mal y bachcenyn hwn, hwnw yw'r mwyaf yn-teyrnas nefoedd. A' phwy pynac a dderbyn gyfryw ‡ bachcenyn yn vy Enw, a'm derbyn i. A' phwy bynac a * rwystro vn o'r ei bychein hynn a credant yno vi, gwell oedd, iddaw pe crogit maen melin am ei ‡ bwnwgl, a' ei boddy yn eigiawn y mor. Gwae'r byt o bleit ‡ rhwystrae: can ys angenreit yw dewot rhwystrae: er hyny gwae'r dyn hwnw, y gan yr vn yd el y ‡ rhwystr. Can hyny a's dy law nai dy droet ath rhwystra, tor wy ymaith, a' thabl y wrthyt: gwell yw yty vynet i vywyt, yn gloff, ai yn * anafus, nath tably ac yty ddwylaw, a' ‡ dau droet i dan tragavythawl. Ac a's dy lygat ath rwystra, tynn af an, a' thabl y wrthyt: gwell yw yty vynet i vywyt ac vn llygat, na' ca dau lygat, dy dably i dan yffern. * Gwelwch na ‡ threimygoch yr vn o'r ei bychein hynn: canys dywedaf y chwi, pan yw yn y nefoedd bot y Aggelo wy bop amser yn * gwelet wynep vy-Tat yr hwn

* blentyn
‡ cenol
* trot
† reibychein
‡ ymiselo
* plentyn
‡ drangwyddo, gwimpo
* wddwg
‡ tramcwyddion, cwympe
‡ tranwyd
* efrydd
‡ dwy
* Mogelwch
‡ anvriochy, salwch
* tremio, edrych

ys y yn y nefoedd.

Canys daeth Map y dyn i * gadw yr hyn a gollesit. Beth a dybiwch vvi? A's bydd ei i ddyn gan davat, a' myned o vn o hanynt ar ddisperot, a ny ad ef y naw ynyn vn pemp ugain, a' myned ir mynydedd a' cheisio yr hon aethesei ar ddysperot? Ac a's byð yddo y chaffel hi, yn wir y dywedaf y-chwi, mae mwy llawen yw gantho am y ddavat hono, nag am y namyn vn pemp vcain nyd aethent ar ddispirot. Felly ni d yw ewyllys eich Tat ysy yn y nefoedd, bot cyfergolli yr vn o'r ei bychain hyn. Eb law hyny a's ‡ pecha dy vrawt ith erbyn, does, a' * cherydda ef ryngot ac ef ‡ wrth y vn: a's ef ath wrendy, enilleist dy vrawt. Ac as ef ni'th wrendy, cymer gyd a thi eto vn nei ðau, val y bo gan enae dau nei dri o testion all y * sefyll o bop gair. Ac a's ef ny bydd gwiw gantaw eu gwrandaw, dywait wrth yr Eccleis: ac a's ef ny bynn wrandaw 'r Eccleis chwaith, bit ef y-ty megis ‡ Cenedlic a Phublican. Yn wir y dywedaf, ychwi, Pa bethe bynac a rwymoch ar y ddaiar, a rwymir yn y nefoedd, a' pha bethae bynac a ellyngwch ar y ddaiar, a ellyngir yn y nef. Trachefyn, yn vvir y dywedaf wrthych, a's cydsynnia dau o hanoch * yn y ddaiar ar ddim oll, beth bynac ar a archant, y rhoðir yðynt y gan vy-Tat yr hwn 'sy yn y nefoedd. Can ys ymp'le pynac ydd ymgynnull dau n'ei dri, yn vy Enw-i, yno ydd wyf yn ei ‡ cenol wy.

¶ Yno y daeth Petr ato ef, ac a ddyvot, Arglwydd, pa sawl gwaith y pecha vy-brawt im erbyn, ac y maddeuaf yddaw? ai yd seithwaith? Yr

* lachay ym wared, ach-
yn diane
‡ ddidro,
goll, ar ddigren

‡ gwna
* dywait wrtho ei vai.
‡ yn vnic
* grynio

‡ anffyddlō a'chollwr

* ar

‡ perfedd

*Yr Euangel y xxij. Sul gwedy Trintot.*

Iesu a ddyvot wrthaw, Ny ddywedaf y-ty, yd se
thwaith, anid yd * seithwaith ‡ ddecwaith seith
waith. Am hynny y cyffelypir teyrnas nefoedd
ryw Vrenhin, ‡ pwy vynnei gael cyfrif * can e
weision. A'phan ddechreysei gyfrif, e ddwcpwy
vn attaw, a oedd yn ei ddylet o ddec mil o ‡ talen
tae. A' chā nadoed ganto ddim oei daly, e'orchy
mynawdd ei Arglwydd y werthy ef, a' ei wreic, a
ei blant, ac oll * a veddei, a' thaly yr ddlet. A'r gwa
a gwympawdd i lawr, ac atolygawdd iddaw, can
ddyvedyt, Arglwydd, ‡ oeda dy ddigovaint w
thyf, a' thalaf y-ty y cvvbl oll. Yno Arglwydd y
gwas hwnw a drugarhaodd wrtho, ac ei gelly
gawdd, ac a vaddeuawdd iddaw y ddled. A' gw
dy myned y gwas ymaith, e gavas vn oe * gyd
llion, yr hwn oedd yn y ddlet ef o gant ceinia
ac a ymavlawdd yntaw ac ei llindagawdd, ga
ddywedyt, Tal i mi ‡ dy ddlet. Yno y syrthiaw
ei gyveill wrth y draet ef, ac a atolygawdd yda
can ddywedyt, * Oeda dy ddigovaint wrthyf, a
thalaf y-ty y cvvbyl oll. Ac ny's ‡ gwnai ef, an
myned a'ei vwrw ef yn-carchar, y'n y dalei yr dl
A'phan weles ei gyveillion ereill y pethae a * dd
roedd, ydd oedd yn ddrwc dros pen ganthwynt, a
a ddeuthant, ac a vanegesant y ew h'arglwydd y
oll pethae a ddarvesynt. Yno y galwawdd ei Ar
glwydd arnaw, ac a ddyvot wrthaw, A wa
‡ drwc, maddeueis yty yr oll ddyled, can ytyw
ddiaw arnaf. Ac a ny ddylesyt tithe tosturia
wrth dy * gyveill, megis ac y tosturiais i wrth
ti? A'llitiaw a wnaeth ei Arglwydd, ac ei rhod
ei

*dec a thrugein waith, sef ccccxx, nid amgen. eb rivedi

‡ y

*aei

‡ yncylch lx.ll. oedd pop talent cyffredin

*oedd yn ei helw

‡ gohiria, heddycha, pwylla, bydd dda dy amyned

* gydweision

‡ vy

* Esmwytha.

‡ mynnei

* wneithit

‡ nall

* gydwas

ef ir poenwyr, y'n y dalei ei ho'l ddylet iddaw. Ac velly yr vn ffynyt y gwna veu nefawl Dat i chwi-thae, any vaddeuwch o'ch calonae, pop vn * y'w vrawd eu ‡ camweddae.

*ydy
‡sarhacdae, trespasae

## Pen. XIX.

Chrift yn dangos am ba achos y gellir yscar gwraic. Bot * diweirdep yn ddawn gan Ddyw. Ef yn derbyn rhei bychain. I gahel bywyt tragyvythawl. Mai braidd y bydd yr hei goludoc bot yn gadwedic. Ef yn gaddaw ir ei a ym-wrthodesont ac cwbyl y'w ddilyn ef, bychedd dragywythol

*ymgynnal

AC e ddarvu, gwedy ir Iesu orphen yr ymadroddion hyny, ef a ymadawodd a Galilaea, ac a ddaeth i * ffinion Iudaea y tuhwnt y Iorddonē. A' ‡ thorfoedd lawer y dylinodd ef, ac ef y iachaodd wy yno.

*duedddae
‡minteiced

Yno y daeth y Pharisaieit attaw, gan y dempio ef, a' dywedyt wrthaw, Ai cyfreithlon i wr * wrthddot ei wraic am bop ‡ achos? Ac ef a atepawdd ac a ddyvot wrthwynt, A'ny ddarllenach, pan yw i'r vn y gwnaeth vvy yn y dechreu, yn wryw a' benyw ei gwneythyd hwy, * ac a ddyvot, O bleit hyn y gad y dyn dad a' mam ac y ‡ glyn wrth ei wraic, ac ylldau y byddant yn vn cnawd? Ac velly nid ynt mwyach yn ddau, any d un cnawd. Na bo i ddyn gan hyny ‡ ohany yr hyn a * gyssylltodd Duw. Wy a ddywetesont wrthaw, Paam gan hyny y gorchymynodd Moysen

*yscar, badden, roi ymaith
‡bai.
*dywedyt
‡ymgassyllta, cyda
* yscar

roi

roi llythr * yscar, a'i ‡ gellwng hi ymaith? E
ddywot wrthwynt, Moysen erwydd caledrwy
eich calonae, a'oddefodd ywch wrthot eich gw
gedd: eithr o'r dechreu nyd oedd hi velly. A' mi dyw
daf ychwi, mai pwy pynac a wrthotto ei wrai
* dyethr am ‡ 'odinep, a' phriody vn arall, y b
yn * toripriodas, a' phwy pynac a briota hon, a
scarwyt, a dyr briodas. Yno y dywot ei ddiscipul
wrtho, A's velly y mae'r ‡ devnydd rhwng g
a' gwraic, ny da * priodi gvvraic. Ac ef a ddyw
wrthwynt, Ny all pawp ‡ dderbyn y * peth hy
anyd y'r ei y rhoed ydd wynt. Canys y mae'r ei
ddiweir ar a anet velly o groth ei main: ac y ma
ei yn ddiweir, a wnaed yn ddiweir gan ddyni
ac y mae'r ei yn diweir, a ei gwnaeth yhunain y
ddiweir er mvvyn teyrnas nefoedd. Y nep a all d
byn hyn, derbyniet.

Yno y ducpwyt ataw 'rei bychain, er iddo d
dy ei ddwylo arnaddynt, a' gweddio: a'r discip
ion y ceryddawdd wy. A'r Iesu a ddywot, Ge
wch ir ei bychein, ac na'ohardd wch yddynt d
vot ataf i: can ys ir cyfryw 'rei y mae teyrnas n
oedd. A' gwedy iddo ddody ei ddwylo arnaddy
ydd aeth ef ymaith o ddyno. ‡ A' nycha, y da
vn, ac y dywot wrthaw, Athro da, pa * dda a w
af, ‡ yn y chaffwyf buchedd dragywythawl?
ef a ddywot wrthaw, Paam y gelwy vi yn d
nyd da neb, anyd vn, ys ef Dyw: and a's wyll
vyned y myvvn i'r bywyt, cadw'r gorchymyni
Ef a ddywot wrthaw ynte, Pa'r ei? A'r Ies
ddywot, Yr ei hynn, Na ladd: Na * thor briod

* ymadaw, gyrru
* anyd,
‡ puteindra
* godinibu
‡ peth, helhynt
* gwreica
‡ gynnwys
* gair
‡ Ac wele
* beth da
‡ val e.c.
* wna odi-
eiap

Na ledrata: Na ddwc gamtestiolaeth. Anrydedda dy dad ath vam: a' cheri dy gymydawc mal ty hun. Y *gwr-ieuanc a ddybot wrthaw, Mi gedwais hyn oll o'm ieuntit: beth 'sy yn eisiae i mi eto? Yr Iesu a ddybot wrthaw, A's wyllysy bot yn perfeith, does, gwerth 'sy ‡genyt, a' dyro i'r tlodion a' *thi gai dresawr yn y nefoedd: a' dyred a' dilyn vi. A' phan glybu y gwr-ieuanc yr ymadrodd hwn, yr aeth ‡ffwrdd yn drist: canys ydd oedd ef yn berchen da lawer. Yno y dybot yr Iesu wrth ei ddiscipulon, Yn wir y dywedaf wrthych, mae yn anhawdd ydd a'r *goludawc i deyrnas nefoedd. A' thrachefyn y dywedaf y chwi, Haws i gamel byned trwy gray 'r nodwydd-ddur, nac i'r goludawc dyned y mewn y deyrnas Duw. A' phan glybu y ddiscipulon ef hyn, ‡ sanny a wnaethant yn aruthyr, gan ddywedyt, Pwy gan hyny all bot yn gadwedic? A'r Iesu a edrychawdd arnyn, ac a dybot wrthynt, Gyd a dynion ampossibil yw hyn, anyd gyd a Duw pop peth sy yn *possibil.

Yno Petr a atepodd ac a ddybot wrtho, Nycha nyni a adawsam pop peth, ac ath ddilynesam di: a pha beth a vydd y-ni? A'r Iesu a ddybot ydd ynt, Yn wir y dywedaf wrthych, mae pan eisteddo Map y dyn ‡yn eisteddva ei 'ogoniant, chwychwi yr ei a'm *canlynawdd yn yr adgenetleth, a eisteddwch hefyt ar ddeuddec eisteddva, ac a bernwch dauddec llwyth yr Israel. A' phwy bynac a ‡edy tai, ney broder, neu chwioredd, neu dat, neu vam, ne wraic, nei blant, nei diredd, er mwyn vy Enw i, ef a dderbyn ar y canvet, a'bywyt tragywythawl a *etiveddа.

*gwas
‡ar dy elw
*chai
‡ymaith
*cyfoethawc
‡ trwang
*alluoc
Yr Euangel ar ddydd ym chweliat S. Paul
*wrthodesam
‡ar
*dawrhynt
‡dilinio
*wrthoto

*etivedda. An'd llawer oz ei ‡blaenaf, a byddāt yn olaf, ar ei olaf yn blaenaf.

*beddiauna
‡cyntaf

## Pen. XX.

Chꝛist yn dyscy dꝛwy gyffelypꝛwydd, nad yw Duw yn dlet neb, a'ei bod ef yn 'ogffad yn galw dynion yw waith ef. Ef yn y rhybyddiaw hwy am ei ddyoddefaint. Yn dyscy yꝛ eiddaw ef i ymoglyd nac * rhwysc. Chꝛist yn caly cu ransiwm a'n pꝛegethigaeth. Ef yn rhoi ei golwc i ddau ddall.

*rhyvic, rhvvyf

Yr Euangel ar y Sul Septuagesima.

*dyplwꝛ

Canys teyꝛnas nefoedd 'sy debic y * berchen tuy, yꝛ hwn aeth allan a'hi yn dydd i gyflogy gweith wyꝛ y'w 'winllan. Ac ef a gytu nawd a'r gweithwyꝛ er ceiniaw y dydd, ac y danvonod hwy y winllan. Ac ef aeth allan ynghylch y drydedd awꝛ, ac a weles eraill yn sefyll yn segur yn y ‡varchnat, ac adybot wꝛthwynt. Ewch chwi the hefyt i'm gwinllan, a' pheth bynac a vo cyfi awn mi ei rhof y chwy. Ac wynt aethāt ymaith. Trachefyn ydd aeth ef allan ynghylch y chwechet a'r nawet awꝛ, ac a wnaeth yꝛ vn modd, Ac ef aeth allan yn-cylch yꝛ vnved awꝛ arddec, ac a gafas eraill yn sefyll yn segur, ac a ddybot wꝛthynt. Pa am ydd y chwi yn sefyll yma yn hyd y dydd yn segur? Dywedesont wꝛtho, Am nad oedd nep yn cyflogy. Ef a ddybot wꝛthynt, Ewch chwi the hefyt i'm gwinllan, a' pheth bynac a vo cyfiawn chwi ei cewch. A' phan aeth hi yn * hwyꝛ, y dyvot ‡ Arglwydd y winllan wꝛth ei 'oꝛchwiliwr

‡yꝛ heol

*echwydd
‡perchen

Gal

Galw yr gweithwyr, a' dyro yddynt ei cyfloc, can
ddechrae or hei dywethaf yd yr ei cyntaf. A' phan
deuth yr ei a gyflogesit yn-cylch yr unvet awr arddec,
cahel a wnaeth pop vn geinioc. A' phan deuth yr
ei cyntaf, wy dybiesōt y cahēt vwy, eithr hwyntha e
hefyt a gawsant bob-vn geiniawc. A' gwedy ydd=
wynt gahel, * grwgnach a wnaethant wrth wr
y tuy, gan ddywedyt, Ny weithiodd yr ei olaf hyn
annid vn awr, a' thi ei gwnaethost yn gystal a
ninae r'ei a ddygesam bwys y dydd a'r tes. Ac ef a
atebawdd i vn o hanwynt ac addywot, Y ‡ carwr,
nid wyf yn gwnaethy dim cam a thi: Annid er cei=
niawc y cytuneist a mi? cymer ‡ y peth 'sydd i ti,
a' dos ymaith: mi a ewyllysiaf roddy ir olaf hwn,
megis ac y tithef, Anid iawn i mi wneythyd a
vynnwyf am ‡ y s'y i mi vyhun? a ytyw dy lygat ti
yn ddrwc am vy-bot i yn dda? Velly y bydd yr ei
olaf yn blaenaf, ar ei blaenaf yn olaf: can ys lla=
wer a alwyt, ac ychydigion a * ddetholwyt.

A'r Iesu ‡ aeth i vynydd i Gaerusalem, ac a gy=
merth y deuddec discipulon * o'r nailltu ar y ffordd
ac a ddywot wrthyn, Nycha nyny yn myned i vy=
nydd i Gaerusalem, a' Map y dyn a roddir i'r An=
choffeirieit ac i'r Gwyr-llen, ac wy y barnan ef i
angae, ac y roddant ef i'r Cenedloedd er yddyn
watwor, a'ei ‡ yscyrsiaw, a'ei * grogi: a'r trydydd
dydd y cyfyd ef drachefyn.

¶ Yno y deuth ataw mam plant Zebedeus y gyd
a hei meibion, can ei addoli, ac erchy rhyw beth
ganto. Ac ef a ddywot wrthei, Peth a vynny? Y hi
a ddywot wrthaw, * Caniata ir ei hynn vy-deu

vaipion

* murmur, manson, grwytho

‡ cyfeill

‡ yr eiddo vyhun

* dewyswyt

‡ ascennodd

* wrthyr ehunain

‡ ffrewyllio

* groes hoelio

Yr Euāgel ar ddydd S. Iaco Apostol.

‡ asau

*phiol

‡ ac ef
*vanbi

‡ glypu, glywodd
*coec vn ganthynt

*wenidawc

‡ eneit, einioes

*vlwydwy

vaip gahel eistedd, vn ar dy ddeheulaw, ar llall ar dy law ‡ aswy yn dy deyrnas. A'r Iesu a atepawd ac a ddyvot, Ny wyddoch beth y archwch. A ellwch yvet o'r * cwpan ydd yfwy vi o hanavv a'ch batyddiaw a'r batydd y batyddier vi? Dywedesont wrthaw Gallwn. Ac ef a ddyvot wrthwynt. Diogel yd yfwch o'm cwpan ac ich batyddier, a'r batydd i'm batydier i ‡ gántavv, eithyr eistedd ar vy-deheulaw ac ar vy llaw aswy, nid yw * i mi y roi: eithyr e roddir i'r sawl y darparwyt y ganvy-Tat. A'pha ‡ gigleu'r dec ereill hyn, * sorry a wnaethant wrthy ddau vroder. Can hyny yr Iesu ei galwodd wy atyw, ac a ddyvot, Ys gwyddoch mae penaetheit y Cenetloedd a arglwyddiant arnadwynt, a'r gwyr mawrion, ae gwrthlywiant wy. Ac nid velly y byd yn ych plith chwi, anid pwy pynac a vynno bot yn wr mawr yn eich plith chwi, byddet yn * wasanaethwr y chwy, a'phwy pynac a vynno bot yn pennaf yn eich plith, bit e yn was y'wch, megis ac y deuth Map y dyn nyd y'w wasanaethy, namyn er gwasanaethu, ac y roddy ei ‡ vywyt yn brynniant tros lawer.

Ac wyntwy yn myned y ffordd o Iericho, y dily nodd tyrfa vawr ef. A' nycha, ddau ddeillion yn eistedd ar vin y ffordd, pan glywesont vot yr Iesu yn myned heibio, y llefesont, gan ddywedyt, Arglwydd vap Dauid trugarha wrthym. A'r dyrfa cerydda wodd vvy, yn y thawent a son: wythe a lefe son * yn vwy, gan ddywedyt, Arglwydd vap Dauid trugarha, wrthym. Yno y safodd yr Iesu, ac galwadd wy ac a ddyvot, Beth a ewyllisiwch i

y wne-

y wneythyd ywch'. Dywedesont wrthaw, Argl-
wydd, bod agori ein llygait. A'r Iesu gan dostu-
riaw a gyhyrddodd a ei llygait: ac yn y van y cy-
merth ey llygait * olwc, ac vvy y dylynesont ef.

*leufer

## Pen. xxj.

Christ yn marchogeth ar asen y Caerusalem. Gyrry'r prynwyr a'r gwerthwyr allan o'r templ. Y plant yn ‡ pucho llwyddiant i Christ. Y ffic usbren yn gwywo. Bot ffydd yn angenraid wrth weddiaw. Betydd Ioan. Y ddau vap. Y dammec am y llafurwyr. Rhoi hebio y conglfayn. Gwrthodot yr Iuddaeon a' derbyn y Cenetloedd.

‡erchi, damuno

APhan ddaethant yn gyfagos y Caerusalem a'i dyuot hwy i Bethphage i vynyth Oliuar, yno yd aduones yr Iesu ddau ddiscipl, can ddywedyt wrthynt, Ewch ir pentref y sy ‡ gyferbyn a chwi, ac yn y * man, chwi a gewch asen yn rhwym, ac ‡ ebol gyd a hi: gellyngwch wynt a' dygwch * i mi. Ac a dywait nep dim wrthych, dywedwch, bot yn rraid ir Arglwyd wrthynt: yn y man ef y gellwng hwynt. A' hyn oll a wnaethpwyt, y gyflawni yr hyn a doytpwyt trwy'r Prophwyt, yn doydyd. Dywedwch i verch Sion, ‡ Nycha, dy Vrenhin yn dyvot atat' yn * war, ac yn eistedd ar asen, ac ebol llwdn asen, weddol. Y discipulon a aethant, ac a wnaethant mal y gorchymynnawdd yr Iesu ydwynt, ac a ddugesont yr asen a'r ebol, ac a ddodesont ei dillat arnynt, ac ei gesodesont ef ‡ arnwynt. A' thyrva ddirvawr a daneusont ei dillat ar y ffordd: e-

*Yr Euangely Sul cyntaf o'r Aduent.*

‡ar eich cyfer

*ebrwydd

‡ llwdyn

*atavi

‡ Wele

*vfydd, mwyn

‡ar vchaf

ereill a dorresont gangae o'r gwydd, ac ei tannusont rhyt y ffordd. A'r dyrfa a oedd yn mynet o'r blaen, a'r ei oedd yn dyvot ar ol a lefent, can dywedyt *Hos-anna i vap Dauid: bendigedic vo yr hwn yw y yn dywot yn Enw yr Arglwydd, Hos-anna rhwn wyt yn y nefoedd gorucha f. A' gwedy ei dy uot i Gaerusalem, y dinas oll a gynnyrfodd, can ddywedyt, Pwy yw hwn? A'r tyrvae a ddywedesant, Hwn yw'r Iesu y Prophwyt o Nazaret, yn-Galilea. A'r Iesu a aeth y mewn i templ Dduw, ac ei taflawdd hwynt y gyd allan yr ei oedd yn gwerthy ac yn prynu yn y templ, ac a ddymchlawdd y lawr byrddae yr newidwyr-arian, a' chadeiriae yr ei oedd yn gwerthy colombenot, ac a ddyvot wrthwynt, Mae yn escribennedic, Y tuy meu vi tuy gweddi y gelwir, eithyr chwi ei gwnaethoch yn'ogof llatron.

*Iacha, cadw, ymwared

Yno y daeth y deillion a'r cloffion attaw, yn y Templ, ac ef y iachaodd wy. A' phan welawdd yr Archoffeiriait a'r Gwyr-llen y ryveddodae a wnaethoedoedd ef, a'r plant yn llefain yn y templ, ac yn dywedyt, Hosanna vap Dauid, y *sorresont, ac y dywedesont wrthaw, A glywy di yr hyn a ddyweit yr ein? A'r Iesu a ddyuot wrthynt, ‡Do: A ny ddarllenasech erioed, *Denae'r ei-bychein, a'r ei ‡yn sugno y perffeithieist voliant?

*bu salw, goec, gan thynt
‡Ie, Clywais
*Crwy
‡ar vronae

Yno y gadawodd ef wynt, ac aeth allan o'r dinas i Bethania, ac a letuyodd yno. A'r borae ac ef yn ad ymchwelyd ir dinas, ydd oedd arno newyn. Ac wrth weled ffiguspren ar y ffordd, yd aeth ataw, ac ny chafas ddim arnaw, namin dail yn unic,

vnic, ac y dywot wrthaw, Na bo i ffrwyth dyvu* ar nat' byth mwyach. Ac yn ‡ ebrwydd y * gwywodd y fficuspren. A' phan ei gwelawdd y discipulon, y ryveddesant, gan ddywedyt, ‡ Pan'd ebrwydd y gwywodd y ffigusbren? A'r Iesu a atepawdd ac a ddywot wrthynt, Yn wir y dywedaf wrthych, pei byddei * y chwi ffydd ac eb ‡ petrusaw dim, ny wnewch yn vnic yr hyn a' vvneythym i ir ffigusbren, anyd hefyt pe dywedech wrth y mynyth hwn, Cymer dy vn y ffwrdd, a' bwrw dy vn ir mor, * hyny vydd. A' pha beth a archoch yn-gweddi, a's credwch, chwi ei derbyniwch.

A' gwedy y dyvot ef ir Templ, yr Archoffeiriait, a' Henafieit y popul a ddaethan ataw, val yr oedd ef yn athrodd-dysc, ac a ddywedesont, Wrth pa awturtot y gwnai di y pethae-hyn? a' phwy a roes y ti yr awdurtot hyn? Yno ydd atepawdd yr Iesu, ac y dywot wrthwynt, A' minef a ofynaf i chwi, vn-peth, yr hwn a's manegwch y-my, a' minef a venagaf y chwi wrth pa auturtot y gwnaf i y pethae hyn. Betydd Ioan o b'le yd oedd? ai o'r nef, ai o ddynion? Yno y rhysymesont yn ei plith y unain, gan ddywedyt, A's dywedwn, mai o'r nef: ef a ddyweit wrthym, Paam gan hyny na's credech yddaw? Ac a's dywedwn mae O ddynion, mae arnam ofyn y popul: can ys bot pawp oll yn cymeryd Ioan mal Prophwyt. Yno ydd atepesont i'r Iesu, gan ddywedyt, Ny wyddam ni. Ac ef a ddywot wrthwynt, Ac ny's dywedaf vinef y chwi wrth pa auturtot y gwnaf vi hyn.

And beth dybygwchwi? Ydd oedd i wr ddau

* o hanot
‡ y van
* crinodd
‡ Mor
* genych
‡ amheu, ddowto
* ys derbyd

vap, ac ef a ddaeth at * yr hynaf, ac a ddyvot, H
vap, does a' gweithia heddyw yn vy-gwinllan. Ac
ef a atebodd ac a ddyvot, Nyd af vi: an'd gwedy e
difarhay arno, ydd aeth. Yno y daeth ef at yr all,
ac a ddyvot yr vn ffynyt. Ac ef a atepawdd, ac a
ddyvot, Mi ‡ vvnaf, Arglwydd: ac nyd aeth ef. Pa
vn o'r ddau a wnaeth ewyllys y tad? Dywedyt o
hanynt wrthaw, y cyntaf. Yr Iesu a ddyvot wr
thynt, yn wir y dywedaf wrthych', yr aa 'r Pub
licanot a'r puteinieit o'ch blaen chwi i deyrnas
Duw. Can ys daeth Ioan atoch * yn ffordd ‡ vni
ondep, ac ny chredesoch * ef: and y Publicanot a'r
puteinieit ei credesont ef, a' chwychwi, er y chwy
weled, ny's edifarhaech gwedy, yd yn y chredech ef

Clywch barabol arall, ydd oedd ryw berchen
tuy yr hwn a blannodd 'winllan, ac y caeawdd hi
o pamgylch, ac a wnaeth ynthei ‡ winwascpren,
ac a adeiladawdd dwr, ac ei * llogawdd hi i ‡ di
ddiwilliawdwyr ac aeth i wlad bell. A'phan ne
sawdd amser y ffrwythae, e ddanfonawdd ei wei
sion at y * tir-ddiwilliawdron y dderbyn y ffrwythae
hi. A'r tir-ddiwilliawdwyr a ddaliesont y weision
ef, ac a vayddesont vn, ac a laddasont arall, ac a
lapyddiesont vn arall. Trachefyn yd anfonawdd
weision ereill, mwy na'r ei cyntaf: ac wy a wnae
thant yddwynt yr vn ffynyt. Ac yn ddywethaf oll
yd anvonawdd ef ei vap y vn, gan ddywedyt, Wy
a barchan vy map, A'phan welawdd y tir-ddiwi
lliawdwyr y map, y dywedesont yn y plith y vna
in, Hwn yw 'r etivedd: dewch, lladdwn ef, a' chyme
rwn y ‡ etifeddiaeth ef. Yno y cymeresont ef, ac ei
tavlesont

*cyntaf
‡af.
*mewn ffordd
‡gwiredd, cyfiawnder
*iddo
‡bwll
*gosodawdd
‡llafurwyr
*llafurwyr
Ptef tad

wy addanvonesont attaw ei ddiscipulon y gyd a'r
Herodiait, can ddywedyt, Athro, gwyddam dy
vot yn * air wir, ac yn dyscy ffordd Dduw yn-gwi
rionedd, ac nyd oes arnat ‡ oval nep: can nad
wyt yn edrych * ar wynep dynion. Dywet y-ni
gan hynny, beth a dyby di? Ai iawn ‡ rhoddy
teyrnget i Caisar, ai nyd yw? A'r Iesu yn gwy-
bot y * drigioni wy, a ddyvot, Paam im ‡ temp-
tiwch bi chwy ragrithwyr * hypocriteit? Dangoswch ymy
‡ bath y deyrnget. Ac wy a roesont attaw gein-
awc. Ac ef a ddyvot wrthynt, Pwy pie'r ddelw
hon a'r * argraph? Dywedesont wrthaw, ‡ Cai-
sar. Yno y dyvot ef wrthwynt, Rowch gan hyny
* ys ydd i Caisar, i Caisar, a'rhowch i Dduw y
pethe ys ydd y ‡ Dduw. A' phan glywsant wy hyn,
rhyveddy a wnaethant, a'ei ady a' myned ymaith.

Y dydd hwnnw y daeth y Sadducaieit ataw, (yr
ei a ddywedan nad oes * cyfodedigaeth) ac ovy-
nesont iddo, gan ddywedyt, Athro, e dyvot Moy-
sen, a's bydd marw vn, eb ydd o blant, priodet ei
vrawd y wraic ef, a chyfodet had ‡ y'w vrawt. Ac
ydd oedd gyd a nyni saith broder, a'r cyntaf a brio-
dawdd wreic, ac a vu varw: ac ef eb hilogeth idd-
aw, a adawodd ei wreic y'w vrawt. Yr vn ffynyt
yr ail, a'r trydydd, yd y seithfed. Ac yn dywethaf
oll y bu varw'r wreic hefyt. Can hyn yn y * cyfo-
dedigaeth, gwraic i bwy o'r saith vydd hi? can ys
‡ pop vn y cawsei hi. Yno ydd atepawdd yr Ie-
su ac y dyvot wrthynt, * Cyfeiliorny ydd ych, eb
wybot yr Scrythurae, na meddiant Dyw. O bleit
yn y cyfodedigaeth nid ynt yn gwreica, nag yn

* gywir
‡ bryder
vndyn: erwydd
‡ taly treth ir ymerodr
* malis
‡ profwch
* ffug wyr
‡ arian
* arscrifen
‡ Yr Emperawtr
* yr eiddo
‡ eiddo Duw
* adgyfodiat
‡ ydoedd
* adgyfodiad
‡ oll
* Crwydro, myned ar ddidro, gwibio,

 gwra,

gwra, namyn bot val Angelion Dew yn y nefoedd. Ac am gyfodedigaeth y meirw, any ddarllenysoch hyn a ddywetpwyt wrthych gan Dduw, yn dywedyt, Mi yw Duw Abraham, Dew Isaac, a Dew Iaco? Dew nid yw Ddew y meirw, namyn * y bywion. A' phan glybu'r popul hyny, rhyveddy a wnaethant am ei ddysceidaeth ef.

¶A' gwedy clybot o'r Phariseieit ddarvot i'r Iesu 'ostegu y Saddukaieit, wynt a ymgynullesant yn vn-lle. Ac vn o hanwynt yr hwn oedd Gyfreithiwr a ymofynnawdd ac ef, er ei *brofi gan dywedyt, Athro, pa vn yw'r gorchymyn mawr yn y ‡ Ddeddyf? Yr Iesu a ddywot wrthaw, Cery yr Arglwydd dy Dduw * o'th oll calon, ac o'th oll enait, ac o'th oll veddwl. Hwn yw'r ‡ cyntaf a'r gorchymyn mawr. A'r ail ys y gyfelip i hwnn, Cery dy gymydawc mal * tuhun. Yn y * ddau 'orchymyn hyn i y ‡ mae yr oll Ddeddyf a'r Prophwyti. A' gwedy ymgasclu o'r Phariseieit yn-cyt, y gofynnawdd yr Iesu yddwynt, can ddywedyt, Peth a dybygwch chwi am y Christ? map i * bwy ytyw? Dywedesont wrthaw, Map David. Ef a ddywot wrthwynt, can hyny pa vodd y mae David yn yr yspryt yn y 'alw ef yn Arglwydd, can dywedyt, Dywedawdd yr ‡ Arglwydd wrth vy Arglwydd, Eistedd ar vy-deheulaw yny 'osotwyf dy 'elynion yn * droedvainc y-ty? Ac a's galwadd David ef yn Arglwydd, pywedd y mae ef yn Vap iddaw? Ac ny vetrawdd ‡ vn-dyn atep gair iddaw, ac ny * veiddiawdd nep o'r dydd hwnw allan ‡ ymgwestioni ddim ac ef mwyach.

¶Pen

*ir

*Yr Euangel y xviij. Sul gwedy Trintot.*

* demtio
‡ Gyfraith
* yn dy, ach
‡ cyssevin, pac
* tithaw, tithau, tehef.
‡ crog, glyn, cynwysir
* piei map ef ys ef, o bwy ir hanyw
‡ Ion
* lleithic
‡ nep
* llyvasawdd
‡ ymofyn

## Pen. xxiij.

**Christ yn barny ar rwyse, trachwant a' gausancteiddrwydd y Gwyr llen a'r Phariseiest, y canlyniat wy yn erbyn gwasanaethwyr Duw. Christ yn Prophwyto o ddinistriat Caerusalem.**

YNo y * llavarawdd yr Iesu wrth y dyrva, a'ei ddiscipulon, gan dywedyt, Y mae'r Gwyr-llen a'r Pharisaieit yn eistedd yn-cadair Moysen. Yr oll bethae gan hyny ar a ddywedant ywch am ei cadw, cedwch a' gwnewch: an'd ‡ ar ol ei gweithredoedd na wnewch: can ys dywedyt a wnant, eb wneythy'r. O bleit wy rwymant beichiae trymion, ac anhawdd ei dwyn, ac * gesodant ar yscwyddae dynion, ac wy y unain nid ‡ ys mutant ac yn oei bysedd. Ei oll weithredoedd a wnant er ei gweled o ddynion: can ys llydany ei * cadwadogion, a wnant, ac estyn ‡ emplynae ei gwiscoedd, a' charu y lle uchaf yn-gwleddoedd, a' chael y prif eisteddleoedd mewn cymmynsae, a' chyfarch-gwell yddyn yny marchnatoedd, a'ei galw gan dynion Rabbi, Rabbi, Eithr na'ch galwer gan ddynion Rabbi: can ys un dyscyawdr ys ydd y chwi 'sef yvv, Christ, a' chwychwi oll brodeir yd ych. Ac na 'alwch neb yn dad ywch ar y ddaiar: can nad oes anyd un yn Tad y chwi yr hwn ys ydd yn y nefoedd. Ac nach galwer yn * dyscodron: can ys un yw eich ‡ dyscyawdr chwi, ys ef

* dywedod, dyvot.
‡ wrth.
* dodant.
‡ ysgogant.
* phylacteria
‡ fimbria.
* doctorsete.
‡ doctor

Chrift. A'r mwyaf yn eich plith, byddet ef yn wa
ywch'. Can ys pwy pynac a ymddyrcha y vn, a *
selir: a' phwy pynac a ymisela ehun, a dderche
‡ A' gwae chwychwi'r Gwyr-llē a'r Pharisaie
* hypocriteit, can ychwi gau teyrnas nefoedd ‡ g
yrbron dynion: canys ychunain nyd ewch y mew
ac ny's gedwch ir ei a ddauent y mewn, ddybot
mywn. Gwae chwychwi yr Gwyr-llen a'r Pha
saieit hypocriteit: can ys eich bot yn llwyr * bw
tai y gwragedd gweddwon, ac wrth liw gwed
hirion: erwydd pa bleit yd erbyniwch barn
mach. Gwae chwychwi'r Gwyr-llen a'r Phari
ieit hypocriteit: can ys-amgylchiwch vor a' t
wneythy'r vn ‡ o'ch proffes eich vnain: a' gwed
gwneler, ys gwnewch ef yn ‡ ddaublygach
vap i yffern na chwi ych vnain. Gwae chwy
dywysogion deillion, yr ei a ddywedwch, Pwy
nac a dwng i'r Templ, nid yw ddim: an'd pwy
nac a dwng i aur y Templ, y mae ef * yn gwn
thyd ar gam. Chwychwi ynfydion a' deillion,
vn bwyaf ai'r aur, ai'r Templ rhon 'sy yn san
ddion'r aur? A' phwy pynac a dwng i'r allor,
yw ddim: an'd pynac a dyngo i'r offrwm ys y
nei y mae ef * yngham. Chwychwi ynfydion a'
llion, pwy vn bwyaf, ai'r offrwm, ai'r allor a s
teiddia'r offrwm? Pwy pynac gan hyny a dw
i'r allor, a dwng iddi, ac i'r oll y sy arnei. A' ph
pynac a dwng i'r Templ, a dwng iddi, ac i hw
‡ dric yntheι. A' hwn a dwng ir nefoedd, a d
i eisteddfa Dew, ac i hwn a eistedd arnei.
Gwae chwychwi'r Gwyr-llen, a'r Pharisa

hypoc

*ostyngir
‡Can hyny
*ffuantwyr
‡rhac
*ysy
‡proselyt
*daublyc mwy, ddau gwaeth
‡mewn dled
*yn dledwr
‡breswyl, aria

hypocriteit, canys decymwch y myntys, ac anis, a' chwmin, ac ych yn * maddae pethae ‡ trymach o'r Ddeddyf; sef barn, a' thrugaredd a' ffydd. Y pethae hyn oedd * dir ychwi ei gwneythyd, ac na vaddeuit y llaill. Chwychwi dywysogion deillion, yr ei a hidlwch wybedyn ac a draflyngwch gamel.

Gwae chwy chwi wyr-llen a'r Pharisaieit hypocriteit: can ys-glanewch y tu allan i'r cwpan, a'r ddescl, ac o'r tu mewn y maent yn llawn * trais a' gormoddedd. Tydi Pharisai dall, ‡ carth yn gyntaf y tu mewn ir cwpan a'r ddescil, val y bo'r tu allan yn lan hefyt. Gwae chwy chwi, 'r Gwyr-llen a'r Pharisaieit, hypocriteit: can ys ych cyffelypir i beddae gwedy ei * gwynhay, yr ei a ve ir yn brydferth o ddyallan, ac o vewn y maent yr llawn escyrn y meirw, a' phop aflendit. Ac velly ydd ychwithe: can ys o ddiallan yr ymddangoswch i ddynion yn gyfion, ac o ymewn ydd ych yn llawn ‡ hypocris ac enwiredd.

Gwae chwi'r Gwyr-llen a'r Pharisaieit hypocriteit: can ys ych bot yn adailat beddae 'r Prophwyti, ac yn ‡ addurnaw * monwenti y ‡ cyfiownion, ac yn dywedyt, Pe bysem yn-dyddiae eyn tadau, ny bessem ni gyfranogion ac wynt yn-gwaed y Prophwyti. Ac velly ydd ych yn testiolaethy y chwy ych hunain ych bot yn blant ir ei a laddawdd y Prophwyti: Cyflawnwch chwithae hefyt vesur eich tadae. A seirph, genedlaethae gwiperot, pa vodd y gallwch ddianc rac barn yffern?

¶ Erwydd paam nycha, ydd wyf yn danvon atoch Prophwyti, a' doethion, ac Scrivenyddion, a'r ei

*gellwng heibio
‡ dwysach
*angenraid, y dyly-lesech

*gormail, cribddail, ysbeil, praidd
‡ glanha

*canny, gwyngalchy

‡ ffuant, truth

‡ trwsio, cymmenny
*beddae, medrodae
‡ gwirioniit

Yr Euägel ar ddydd S. Stephan.

ar ei a hanynt a yscyrsiwch yn eich * synagog
ac a ‡ erlidiwch o * dref i dref, mal y del arno
chwi yr oll waed gwirian a'r a ‡ ellyngwyt a
y ddaear, o waet Abel gyfiawn yd yn-gwaet Z
charias vap Barachias, yr hwn a ladesoch rhwn
y Templ a'r allor. Yn wir y dywedaf wrthych, y
daw hyn oll ar * y genedlaeth hon, Caerusalem,
Caerusalem, yr hon wyt yn lladd y Prophwyt, a
yn llapyddiaw yr ei addanvonit atat, pa sawl gw
aith y myneswn ‡ gasclu dy blant ynghyt, meg
y cascla yr iar hei chywion y dan hei adanedd, a
ny's mynech? * Nycha, e adewir ychwy eich
tref yn ‡ ancyvanedd. Can ys dywedaf wrthy
n'ym gwelwch yn ol hyn, yd ny dywedoch, Ben
digedic yw'r hwn a ddaw yn Enw yr Arglwy

## Pen. xxiiij.

Christ yn menegy yw ddiscipulon o ddiscrywiat y templ.
y gau-Christiae. Am barhay. Precethy 'r Euangel.
wybddon diwedd y byd. Ef yn ei chyhyddiaw y ‡
Disymwth ddyvodiat Christ.

A'R Iesu a ddymmodd allan
aeth i ffordd o'r Templ, a'ei ddi
cipulon a ddaethan attaw y dda
gos iddo adailiadaeth y Tem
A'r Iesu a ddyvot wrthynt,
welwch chvvi hyn oll: yn wir y d
wedaf ychwi, ny edevvir yma *
en ar vaen, a'r ny vwrir i lawr. Ac val ydd eiste
ef

* cynulleidvaen
‡ erlynwch
* ddinas
‡ ddinerwyt
* yr oes
‡ glascy
* Wely
‡ ddiffaith
‡ ddihuno
* garec ar eu gylydd

ef ar vynyth * olivar y daeth ei ddiscipulon attaw
‡o'r neilltu, gan ddywedyt, Maneg y ni pa bryd y
byd y pethae hyn? a' pha * arwydd vydd oth ddyvo-
diat, ac o ddiwedd y byd? A'r Iesu a atepawdd ac
a ddyvot wrthyn, Ymogelwch rac i neb ych ‡twy-
llo chwychwi. Can ys daw llawerion yn vy Enw i,
gan ddywedyt, Mi yw Christ, ac a dwyllant llaw-
eroedd. Ac e vydd i chwi glywed am ryveloedd a' so-
nion am ryveloedd: gwelwch na'ch trallodet: can
ys * dir yw bot cyflawni y pethae hyn oll, eythyr nad
oes etwa ‡ diwedd. Can ys cyvyt cenedl yn erbyn
cenedl, a' theyrnas yn erbyn teyrnas, ac e vydd y
* nodae, a' newynae a 'daiargrynedigaethae mewn
amrafel vannae. Ac nyd yvv hyn oll anyd dechre-
uad y ‡ gofidieu. Yno ich rhoddant chvvi ich gor-
thrymy, ac i'ch lladdant, ac ich caseir gan yr oll
genedloedd er mwyn vy Enw i. Ac yno y * rhwy-
strir llawerion, ac y bradychant ygilydd, ac y casa-
ant ygylydd. Ac e gyfyd gau prophwyti lawer, ac
a dwyllant lawerion. A'chanys yr ‡ amylhaiff en-
wired, ef a oera cariat llawerion. Eithyr y nep a
barhao yd y diwedd, hwnn a * vydd cadwedic. A'r E-
vangel hon y ‡ deyrnas a precethir trwy'r oll vyt,
* yn testoliaeth i'r oll genedloedd: ac yno y * daw
r ‡ tervyn,

Can hyny pan weloch * ffieidtra y diffeithwch,
yr hyn a ddywedpwyt y gan Daniel Brophwyt,
yn sefyll yn y lle sanctaidd (y nep ai darlleno, ystyr-
ied) yno yr ei a vont yn Iudaea ‡ ciliant ir myny-
ddedd, y nep a vo ar ben y tuy na ddescendet i gy-
meryd dim allan oei duy. A' hwn a vo yn y maes,

nac

* olew-wydd
‡ wrthyn
* argol.
‡ hudo.
* Raid
‡ diwedd
* cornwyt, cowyn, chwaren
‡ doluriau
* tranc-wyddir
‡ chelaetha
* iachetir
‡ or
* er
‡ y bydd dywedd
* ffiaidd, ang-hyfanedd.
* synniet.
‡ ffoant.

sign Ionas y Prophwyt. Can ys mal y bu Ionas yn sign ir Niniveit, velly y byd Map y dyn i'r genetleth hon. Brehines y Deheu a gyvyt ym-barn y gyd a gwyr y genetleth hō, ac y *barn wy yn euoc can ys hi ddaeth o ‡ dervynae eithav y dayar y glywet doethyneb Selef,* a' nycha vn mwy na Selef y sy yman. Gwyr Niniue a godant ym-barn y gyd a'r genetleth hon, ac y barn hi-yn-euoc: can wy a gymersōt edivеirwch wrth precethiat Ionas: a' nycha * vn mwy na Ionas y sy yman.

Nyd enyn neb ganwyll a'i dodi ‡ yn-cudd, na y dan * vail: eithyr ar ganwyllbren, val y gwelo yr ei a ddel y mywn, weled y llewych. ‡ Can y corph yw'r llygat: can hyny pan vo dy lygat *sympl, yno y mae dy oll corph yn olae: eithr ‡ pan vo dy lygat yn drwc, yno y bydd dy corph yn dywyll. *Ystyria gan hyny, rac ir goleuni y sy ynot, bot yn dywyllwch. Wrth hyny a's dy oll corph vydd golau heb iddo vn ran dywyll, yno byd e golau ‡ ol, mal pan ith oleuaei cannwyll di a'r *discleirdeb.

Ac val ydd oedd ef yn ymadrodd, yr atolygawdd ‡ rhyw Pharisai yddaw giniawa y gyd ac ef: ac ef aeth y mywn, ac a eistddawdd y vwyta. A'r Pharisai a welawdd y Pharisai, y rhyveddawdd can na ymolchesei ef yn gyntaf yr ymolchesei ef o vlayn ciniaw. A'r Arglwydd a ddywot wrthaw, Yn ddiau chwychwi 'r Pharisaieit a *gerthwch y tuallan ir ‡ cwpan a'r ddescil: a'r tu mywn ywch 'sy yn llawn o ... a *drigioni. ‡ A ynbytion, anyd yr hwn a wnaeth hyn 'sy oddy allā, a wnaeth hyn 'sy oddy mewn hefyd? Can hyny rhowch eleesen o'r pethae ys ydd ... mewn

*ddienydda
‡ tine, orae
*ac wele
*bech
‡ ynghudd
*tel, hob, Bwsel
‡ Goleuad
*sengl, ddiplic
‡ tra, a's
*Synna, Gochel, Dogel
‡ y cwbyl
*llewych
‡ neb
*lanhewch
‡ phiol
*scelerder enwiredd
‡ Chwychwi ffolieit

mewn, a' nycha pop peth oll bydd yn 'lan y chwy. Eithyr gwae chwy chwi y Pharisaieit: can ys-chvvi degymwch y myntys a' *rut, a' phop llyseuyn ac ewch dros barn a' chariat Duw: y pethae hyn a ‡ ddylit ei gwnauthur, ac *na baddeuit y llaill. Gwae chvvy chwi'r Pharisaiait: can ys-cerwch yr eisteddleoedd uchaf yn y Synagogae. *a' chael cyfarch-gwell yvvch yn y marchnatoedd. Gwae chvvy chwi'r Gwyr-llē a'r Pharisaieit, hypocriteit can ys ych bot megis ‡ monwenti a'r n'ymdango-sant, a'r dynion a' rodian arnynt, ny wyddan y vyrthynt. Yno yr atepawdd vn * o esponwyr y Ddeddyf, ac addywot wrthaw, y dyscawdr, can dywedyt hyn ydd wyt in ‡ gwarthay mini hefyd. Ac efa ddyuot, Gwae chvvy chwi hefyt, ‡ esponwyr y Ddeddyf: can y chwi lwythao dynion a'llwythae anhawdd-ei-dwyn, a' chvvitheu ny chyffwrddwch *y llwythae ac vn o'ch bysedd. Gwae chvyy chwi: can ych bot yn adailiat ‡ monwenti y Prophwyti a'ch tadae y lladdodd wy *Diau y testolaethwchvvi ac y cydsynniwch a gweithredoedd eich tadae: can ydyntvvy y lladd wy ac y chwitheu a dailiat y ‡ monwenni hwy. Am hynny y dywedei doethi-nep Duw, Anvonaf atyn Brophwyti, ac Aposto-lon, ac o hanynt y lladdant 'rei, ac ereill erlidiant, y'n y bo i' waet y Prophwyti, a ‡ ddinewyt o * sai-liat y byt, gael ei 'ovyn y gan y genedlaeth hon, o waet Abel yd waed Zacharias, yr hwn a las yn cyfrwng yr allar ar Templ: yn ddiau y dywedaf wrthych, ei gofynnir y gan y genetlaeth hon. Gwae chvvy chwi * esponwyr-y-Ddeddyf: can ys

*ruw

‡sy ddir, sy rait

*edit y llaill eb wneythur

‡ac amcrchim

‡bedrodae beddae

*or Cyfreithwyr

‡larhay

*ladmerieit

‡berchiae

*ar

‡beddae

*Dwer

‡beddeu

‡gollwyt clyngwyt

*wnaethuriat

*allwedd ‡gwybodaeth

dducesoch ymaith * egoriat y ‡ gwybyddiaeth nyd aethoch y mywn ych hunain, a'r ei oedd yn not y mywn, a'oharddesoch. Ac ef yn dywedyd y pethae hyn wrthyn, y dechreuawdd y Gwyr-llen a'r Phariseaiait y * ddylundaw ef yn ‡ drud, a'ei nu y ymadrodd am llawer o bethae, gan y gw llwyn ef, a' chaisiaw hela rhyw beth o y ben ef, cahel o hanynt achwyn arnaw.

*dirio arnaw ‡dost

## Pen. xij.

Christ yn gorchymyn ymochelyt rac hypocrisi a'r ffuant, ddylyem ofny dyn amyn Dew. Cyffessy y Enw ef. C yn erbyn yr Yspryt. Nad elom y * tu hwnt in gall gaeth. Nad ymroddom i chwanoc 'ofal y buchedd Eithyr i vniondap, elecseni, gwiliaw, dioddefgarwch, echinep a' ‡ dybndap.

*dros ‡cytundep

YN * y cyfamser, yr ymdyrrawdd yn hyt lliaws aneirif o bopul, y ‡ ymsengynt ar y gylydd: ac y dechreuodd ef ddywedyt wrth ei ddiscipulon yn gyntaf, ymochelwch * surdoes y Phariseaiait, yr hwn ‡ hypocrisi. Can nad oes dim toedic, a'r ny's doer: na chuddiedic a'r ny's daw i wybodaeth. wyd paam pa bethe bynac a dywetsoch yn-tyw llwch, ei clywir yn y goleuni: a'hyn a ddywed soch yn y glust, mewn lleoedd dirgel, a brege ar * vchaf y tai. A' dywedaf wrthych vy-cerein Nac ofnwch rac yr ei n a laddant y corph, ac wed dy hyny eb ‡ yddyn gahel gwneuthu'r dim mwy

*hyny ‡ymsethrynt *lefein ‡ffucsancteidrwydd *ben ‡ar ei llaw allan

A'chan

Y rhac ddangosaf y-chwy, pwy'n a ofnwch: ofnwch hwn yr vn gwedy lladdo, 'sy iddo *veddiant i *bwrw i'r yffern: ‡ dioer, y dywedaf wrthych, hwnvy a ofnwch. Any phrynir pemp o darynot-yto er dwy fferling, ac eto nid oes vn o hanynt yn angof geir bron Duw? Je, ac y mae oll wallt eich pen yn gyfrifedic: nag ofnwch gan hyny: * ys ymdelwch mwy no llawer o adarynot yto. Hefyt y dywedaf y-chwy, Pwy pynac a'm ‡ cyffesso i geyr bron dynion, Map y dyn y cyffessa yntef hefyt geyr bron Angelion Duw. A' hwn a'm gwato i geyr bron dynion, a wedir geyr bron Angelon Duw. A' phwy pynac a ddywait *'air yn erbyn Map y dyn, ei maddeuir iddaw: eithyr i hwn a gablo yr yspryt glan, ny's maddeuir. A' phan ich' dugant ir Synagogae, ac at y llywyawdwyr a'r gwyr-o-*veddiant, na ‡ 'ovelwch pa vodd, nei pa beth a atepoch, nai pa beth a ddywetoch. Can ys yr yspryt glan a'ch dysc yn yr awr hono, pa beth * sy rait i chvvi y ddywedyt. Ac vn o'r dyrfa a ddywot wrthaw, Athro, ‡ arch i'm brawd rannu a mi yr etiueddiaeth. Ac ef a ddyuot wrthaw, * y ‡ dyn, pwy a'm gosodes i yn brawdwr, nei yn rhannwr arnoch? Erwydd paam ef a ddyuot wrthynt Edrychwch ac ymogelwch rac trachwant: can ys cyd bot i ddyn amlder o dda, er hyny nid yw i * einioes yn sefyll o nerth ei dda. Ac ef adroddawdd barabol wrthynt, gan ddywedyt, ‡ Tir ryw wr goludawc a ffrwythlonawdd yn dda. Ac velly y meddyliawdd ynto ehun, can ddywedyt, Beth a wnaf, am nad oes genyf ehengder lle gallwyf dody veu ffrwythae

*cably
‡sicr
*gwell ydych no
‡addefo
*ddim
*awdurdot
‡phryderwch
*a ddylech
‡dywait
*Tiwr Hawr
‡cupyddot, angawrdep
*bywyt, hoedyl
‡Gwlad bro

y gadw: Ac ef a ddyuot, Hyn a wnaf, mi dymmy-
veu yscuporiae i lawr, ac a adailiadaf'rei mwy,
ac yddyn y casclaf veu oll ffrwythae, a'm da.
Dywedaf wrth vy enait, Enait, mae yti dda lawer
wedy'r roi y gadw dros lawer o vlyddyned: gor-
ffwys, bwyta, yf, ‡ymddigrifha. A' Duw a dy-
uot wrthaw, A ynfyd, heno y cyrchant ymaith y
enait y cenyt: yno pwy bieu-vydd y pethae a ar-
laist: Felly am hwn a drysoro yddo ehun, ac nid
yw 'oludawc * yn-duw. Ac ef a ddyuot wrth y
ddiscipulon, Am hyny y dywedaf wrthych, Na
‡phryderwch am eich * einioes, beth a vwytaoch,
nac am eich corph, beth a wiscoch. Mwy yw'r
einioes na'r lluniaeth: a'r corph na'r ‡wisc. Ys-
riwch vvedd y cicvrain: can na heuant, ac na me-
tant: ac nid oes yddyn na* chell nac yscupawr, ac
er hyny y mae Duw yn y ‡lluniaeth y hwy: pa ver
mwy ydd y-chwi well na'r ‡ehediait: A phwy
o hanoch drwy ovalus-veddyliaw, a ail ddodi
ei * gorpholaeth vn cubydd: A'ny ellwch gan hyny
ny wneythur y peth lleiaf, pa am y pryderwch am
y ‡llaill: Ystyriwch' y lili * mal y tyfant vvy
yn yn ‡travaely, nag yn nyddu: a' dywedaf wr-
thych, na bu Selef y un yn ei oll * arderchawg-
wydd, wedy'r wiscaw val vn or ei hyn: Ac os
* amwisc Duw y gwelltyn yr hvvn'sy heddyw yn y
maes, ac y vory a davlir ir ffwrnais, pa vaint mwy
y dillada ef chvvy chwi, havvyr bechan eich ffydd: Can
hyny na vid y chwi ‡ymovyn, py beth a vwytaoch,
nei pa beth a yfoch, ac na * phedrusfwch. Can ys
y pethae hyn oll a ymgais ‡populoedd y byd: a'ch

*goyscaraf
dinistraf
‡cymer y
vid yn digrif
*tu ac duw
‡ofelwch
*bywyt
hoedl
‡dillat
*Edry-
chwch ar
‡ynnogor
*porthy
‡adar
*veint
‡relyw
*podd
‡poeni, ym-
ddygiwd, yn
llafuriaw,
ymluddedi-
gaw
*reiolti,
'ogoniant,
wychder
*dillada
‡geisio,
erchi
*dowtiwch
threrniwch,
ymgodwch
‡cenedloedd

Tat chwi a wyr bot arnoch eisie y pethae hynn. And yn * hytrach caisiwch-wi deyrnas Duw, a'r pethae hyn oll a ‡ roddir y-chwy. Nac ofna, dydi gadw bach: can ys ryngawdd bodd i'ch Tad roddy y-chwy y deyrnas.

Gwerthwch ysydd y-chwy, a'rhowch yn eleesenni. Gwnewch y-chwy * amnerae a'r ny's heneiddiant, yn dresawr ‡ andefficiol yn y nefoedd, lle ny * nesa llaitr, ac ny lygra ‡ pryf. Can ys lle y mae eich tresawr, yno y bydd eich calon hefyt. Bit eich * llwyni wedy'r wregysu, a'ch ‡ cannwyllae wedy * 'nynu, a' chwitheu yn gyffelyp i * dynion yn dysgwyl am ei harglwydd, pa bryd y daw ef o'r briodas, val pan ddel ef a' churo'r drws, yddyn agori iddo yn ebrwydd. Ys gwynvydedic y gweision hynny, yr ei'n yr Arglwydd pan ddel ei caiff ‡ yn-neffro: yn wir y dywedaf y-chwi, yr ymwregysa ef ehun, ac a-wna-yddyn eisted-i lawr-i-vwyta, ac a ddaw allan, ac y gwasanaetha hwy. Ac a's daw ef yn yr ail * wiliadwriaeth, ‡ nei a's daw ef yn y drydedd wiliadwriaeth, a' ei cahel wy velly, gwyn ei byt y gweision hyny. * Yr owon gwybyddwch hyn, pe's ‡ gwypei gwr y tuy pa awr y daethesei'r lleitr, ef a wyliesei, ac ny adawsei glodiaw ei duy trywodd. * A' byddwch-chwitheu am hyny barot: can ys daw Map y dyn yn yr awr a'r ny thybioch. Yno dywedyt o Petr wrthaw, Arglwydd, ai wrthym ni y dywedy y parabol hwn, ai ynte wrth bawb oll hefyt? A'r Arglwydd a ddywot, Pwy'n sy ‡ dy-warcheidwat ffyddlawn, a' * phwyllawc, yr hwn a 'osyt yr Arglwydd yn llywodraethwr ar ei duylu, y roddy y-

*gynt
‡dreiglir
*byrsae
‡ny phalla
*ddaw
‡gwyfyn
*llodynae
‡goleuadae
llugyrn yn
*cenneu
‡wyr.
‡gwiliad, gwilio
*gadwadwriaeth, wylfa
‡ac
*Mawr
‡gwypei
*Ac ymbaratowch
‡benteuluwr
*phwyllic, phrudd, doeth

ddyn ei * cyflunniaeth yn y amser? Gwyn ei byt yntef y gwas, yr hwn ei arglwyd pan ddel, a'i caff yn gwneythu'r velly. Yn wirionedd y dywedaf wrthych, y gosyt ef hwnw yn llyvvodraethvvr ar yr oll ac ys y iddaw. Eithyr a's dywait y gwas hwnw yn ei galon, Ef a oeda vy arglwydd ei ddyfod, a' dechrae ‡ curaw y gweision, a'r morynion a' bwyta ac yfet, a' * meddwi. E ddaw arglwydd y gwas hwnw mewn dydd pryd na thybia ef, ac mewn awr na wyr ef ywrthei, ac ei trycha ef ymaith, ac a rydd iddo ei ran y gyd a'r anffyddlonieit.

A'r gwas hwnw a wybu ewyllys ei arglwydd, ac nyd ymbaratoawdd, ac ny wnaeth yn ol y ewyllys ef, a vaiddir a llawer gvvialennot. Eithyr hwn ‡ ny's gwybu, ac a wnaeth bethae * teilwng o ‡ wialenodae a vaiddir ac ychydic vvialenodœ: canys i bwy bynac y rhoddwyt * llawer, llawer a geisir ganthaw, ac y bwy bynac y dodant lawer, mwy a'o vynnant ganthaw.

Taan a daethym i roi ar y ddaiar, a' pha beth yw v'wyllys, a's cenneuwyt eisus? Eithyr * dir yw vy-vetyddiaw a betydd, a' phyweddim gwescir, y' ny dervynir hyn. A' dybiwch ddyvot o hanof y roddy ‡ tangneddyf ar y ddayar? dywedaf y chwi, nad do eithyr yn hytrach * ymrysson. Canys ‡ o hyn allan y byd pemp yn yr vn tuy wedy'r ymranu, tri yn erbyn dau, a' dau yn erbyn tri. Y tat a ymranna yn erbyn y map, a'r map yn erbyn y tat: y vam yn erbyn y verch, a'r verch yn erbyn y vam: y ‡ chwegr yn erbyn y waydd, a'r waydd yn erbyn

*cymmedrwydt
‡taro ffusto
*brwysco
‡ny'w
*haeddedic
‡vaethcenon
*lliaws
*mae i mi yn ol, rhait
‡heddwch
*goyscar, ancytundep
‡or awr hon, o'r pryd hyn
‡vam yngh yfraith

yn erbyn hei chwegr. Yno y dyuot ef ir *werin, Pan weloch ‡ wybren yn cyuodi o'r Gorllewin, yn y ban y dywedwch, Y mae cavod yn dyuot: ac velly yw. A' phan vveloch y Deheuwynt yn chwythu, y dywedwch, y bydd hi gwresoc, a hi bydd. Hypocriteit, chvvi gwyddoch ‡ ddyall wynep y ddayar, a'r nef: a' phaam na ddyellwch yr amser hyn? Ac paam na vernwch o hanoch eich hunain beth'sy gyfiawn.

Tra vych yn myned y gyd a th'wrthnebwr at y *llywyawdr, 'rhyd y ffordd ‡ dyro dy waith ar gael dy ymwared y wrthaw, rac bot iddaw dy ddwyn at y brawdwr, ac i'r *brawdwr dy roddy at y ‡ cais, ac ir cais dy davlu yn-carchar. Dywedaf y ty, nad ai di y maes o ddyno yd y n y thelych yr *hatling eithav.

*dyrfa, bobul
‡cwmwl
‡brouí, barnu, dybyaw
*swyddoc
‡ymlewha
*barnwr
‡porthawr,
*nes i ti daly

## Pen. xiij.

Creulonder Pilat. Ny ddylem ni barnu bot yn enwir bawb oll ar a ddioddefo artaith. Christ yn annoc i edueirwch. Ef yn iachau y'wreic grepach. Ef yn atep llywiawdr y Synagog. Drwy amryw gyffelybiethae y mae ef yn dat can pa beth yw teyrnas Duw. A' hefyd nad yw niver yr ei a bydd cadwedic, anyd ychydigyn. O'r dywedd y dengys na ddichon na meddiant bydawl na nerth rwyssro na llessair rhin ac arvaeth Duw.

YRoedd'rei yn presennol yn yr amser hwnw, yn menegy iddaw am y Galilaiait, y sawl a gymyscesei Pilat ei *gwaed gyda i h'aberthae hwy hunain. A'r Iesu a atepawdd, ac a ddy-

*creu

not, wrthyn, A dybygwch wi bot y Galilaieit hyn yn bechadurieit mwy na'r oll Galilaieit ereill, can ddarvot yddyn ddyoddef cyfryw bethae? Dywedaf ychwy, nad ynt: eithyr any ‡ wellewch eich buchedd ef ach cyfergollir oll yr vn ffynyt. Nei a dybygwch vvi am y daunaw hyny y * syrthiawdd y twr arnyn yn Siloam, ac ei lladdawdd, y bot wy yn *pechaturieit y tu hwnt ir oll ddynion a ‡ brestwiliant yn-Caerusalem? Dywedaf yw'ch * nad ynt: eithyr any wellewch eich buchedd, ef eich cyfergollir oll yr vn ffynat.

Ef a ddyuot hefyt y *parabol hyn, Yr oedd ‡ gwr a' ffycuspren iddaw wedy'r blanny yn ey 'winllan ac ef a ddaeth ac ageisiawdd ffrwyth arnaw, ac ny chafas ddim. Yno y dyuot ef wrth y gwinllannwr, * Nachaf, y tair blynedd hyn y daethym ac y ceisiais ffrwyth ar y fficuspren hwn, ac nyd wyf yn cahel dim: trycha e y lawr: paam y mae ef yn dibwynaw'r tir? Ac ef atepawdd ac a ddyuot wrthaw, Arglwydd, gad iddo'r blwyddyn hon hefyt, ne's i mi gloddiaw yn ey * gylch, a'ei deilo. Ac a's dwc ef ffrwyth, ‡ gad iddo: anid ef, gwedy hyny * y trychy e i lawr.

Ac ef ei dyscawdd yn vn o'r Synagogae ar y dydd Sabbath. A'nachaf, ydd oedd yno gwraic ac iddi yspryt gwendit, er ys da'unaw ‡ blynedd, ac oedd wedy'r * gydgrymu, ac ny's gallei ymddadgrymu mywn modd yn y byd. A' pan welas yr Iesu hi, ef y gelwes hi ataw, ac a ddyuot wrthei, Hawreic, ith ellyngwyt ywrth dy wendit. Ac ef a ‡ ddodes ei ddwylo arnei, ac yn y man yr vniownwyt hi.

*ddewchwi ir iawn
‡cwympodd
*ddyledwyr
‡drigan
*na ddo
*ddamec
‡nebun
*Wele
‡tor, bwrw cymyna
*coegi, diffrwytho
‡Tec a'da yvv
*cymyny
‡blyddyned
*gyd grebychu
‡dodes

wyt hi, ac y gogoneddawdd hi Dduw. Ac * argl=
wydd y Synagog a atepawdd yn ſorredic, can i'r
Iesu iachau ar y dydd Sabbath, ac a ðyuot wrth y
popul, y mae chwech diernot ar yr ei y dylyit gwe=
ithio: ar yr y rhe'in gan hynny dewch, ac iachaer
chwi, ac nyd ar y dydd Sabbath. Yno atep iddo o'r
Arglwyð, a' dywedyt, ‡ Hypocrit, anyd yw pop vn
o hanochwi ar, y dydd Sabath yn gellwng ei ych
nei asin o'r preseb, a'i dywys y yfed dwfr? Ac any
dyly y verch hon i Abrahã, yr hon a rwymoð Sa=
tã, wele, ys dannaw blyneð, gahel hei gellwng o'r
rhwym hwn ar y dydd Sabbath? A' phan ddywe=
dei ef y pethae hyn, y * cywilyddit y oll wrthne=
bwyr ef: a'r oll popul a lawenhaei ‡ wrth y pe=
thae * rhagorawl a wnaethit y gantaw ef.

Yno y dyuot ef, I ba beth y mae teyrnas Dew
yn gynhebic? ‡ ne i ba beth y cyffelybaf y hi? Cyffe=
lyp yw i'ronyn o had mustard, yr hwn a gymerei
dyn ac a heuhei yn dy'arð, ac a dyvei, ac'ai yn brẽ
mawr, ac * ehediait y nef a nythent yn ey gangae
A' thrachefn y dyuot, I ba beth y cyffelypaf deyr=
nas Duw? Cyffelyp yw i ‡ surdoes, 'rhwn a gym=
rei wreic, ac ei cuddiei mewn tri * chibened o vla=
wd, yn y surei oll.

Ac ef a ‡ gerddawdd trwy 'r oll ddinasoedd a'
threfi, gan ei dyscu, gan * ymddaith tu a' Chae=
rusalem. Yno y dyuot vn wrthaw, Arglwydd, ‡ Ai
ychydig ion ynt a vyddant cadwedic? Ac ef a ddyuot
wrthynt, * ymdynnwch am vynet y mywn ‡ i'r
porth cyfing: can ys llawer oedd, dywedaf ywch,
a gaisiant vyned i mywn, ac ‡ ny byddant abl.

*llywyodr
‡ffbantwr
*gwartheit
‡ar, gan
*gogonedus, arbenic, ardderchawc,
‡ac
*adar yr awyr
‡leben
*phecked, o fflwr, bellieid
‡dramwyawdd
*wneythyr taith, siwrneio
‡A oes ny mawr ymrosenwch
*Ymorchestwch, Ymorthrechwch
‡trwy
*ny's gallant

Gwedy y cyfoto gwr y tuy i bynydd, a' chau'r drws a' dechreu o hanoch sefyll allan, a' churo'r drws gan ddywedyt, Arglwydd, Arglwydd, agor yni ac ef a atep ac a ddywait wrthych, Nyd adwen chwi, o b'le ddych. yno y dechreuwch ddywedyt, Bwytesam ac a yfesam geyr dy vron, ac a dyscei y bobyl * ar ein heolydd. Ac ef a dywait, Dywedaf wrthych, nyd adwaen i chwi o b'le ddych: ewch y maith y wrthyf chwychwi weithredwyr ‡ enwi-redd. Yno y bydd wylofain a' rrincian dannedd, pan weloch Abraham, ac Isaac ac Iaco, a'r oll Prophwyti yn-teyrnas Duw, a' chwitheu wedy ych * tavly allan. Yno y dawant llawer o'r Dwy-rein, a'r Gorllewin, ac o'r Gogledd ac o'r Deheu, ac a eisteddant ar vord yn-teyrnas Duw. A' ny-cha yn olaf ydd ynt, yr ei byddant gyntaf, ac y mae yn gyntaf yr ei byddant olaf.

Yn y diernot hwnw y daeth yr ei or Pharisaieit, ac y dywedesont wrthaw, Cerdda ymaith, a' dos o ddyma: can ys Herod a * chwenych dy ladd. Yno y dyuot ef wrthynt, Ewch a dywedwch i ‡ cadnaw hwnw, Nycha I bwriaf allan gythr-elieit, ac * y gorphenaf iachau, heddyw, ac y vory, a'r trydydd dydd mi ‡ dybennir. Er hyny chaf mi * 'orymddaith heddyw, ac yvory, a' thrennydd: can ny'all vot, y collir Prophwyt ‡ allan o Cae-rusalem. A Caerusalem, Caerusalen, yr hon ledy'r Prophwyti, ac a lapyddy yr ei a ddanvonir atat, pa sawl gwaith yr ewyllyseis gasclu dy blant di ynghyt, yr vn mod ac y casl yr iar hi * nytheid y y hadaned, ac ny's ‡ mynnech? Nycha: y gedir

*yn
‡anghyfiawnder
*gwthio, bwrw y
*wyllysa
‡llwynoc
*yr iachaf yn oystad
‡dywedir, gorphenir
*rodio
‡oddieithr, y maes o
‡chywdot,
*ewyllysech
‡ddiffaith

wir eich tuy y-chwy yn *ancyfannedd: ac yn wir y dywedaf y chwi, ‡na chewch-vy-gweled, yn y ddel yr amser y dywedoch, Ys bendigedic yr hwn'sy yn dyuot yn enw yr Arglwydd.

*nam glwe-loch nes dy uot

## Pen xiiij.

Yr Iesu yn bwyta y gyd ar Pharisaiait. Yn iachau 'clwy'r dwfr ar y Sabbath. Yn dyscu i ni bod y estyngedic a' gohawdd y tlodion in bord. Ef yn mattegi am y ‡cwynos mawr. Y mae ef yn y rhybyddiaw hwy ymblaenllaw yr ei y dylynant ef am amcanu ei cyfrif o'r blaen beth a gyst yddyn. Halen y ddaiar.

‡svvper

Ac e ddarbu pan oedd ef wedy myned i tuy vn or phariseieit pennaf ar y dydd Sabbath, i bwyta *bara hwy y dysgwiliesant ef. A' ‡ nycha, geir i vron ydd oedd rhyw dyn claf or *dropsi. Yno'r Iesu a atepodd, ac a lafarodd wrth y ‡ Cyfraithwyr, a'r Phariseieit, can ddywedyt, Ae rhydd iachay ar y dydd Sabbath? A' thewy a wnaethant wy. Yno ef ei cymerth, ac ei iachaod, ac ei gellyngawdd ymaith, ac ei atepawdd hwy, gan dywedyt, Pwy o hanoch a's ei asin ne i ych a syrth mewn pwll, ac yn y van ny's tyn ef allan ar y dyd Sabbath? Ac ny allesant *wrthep yddaw am y pethae hynn. Ef a ddyvot hefyt ‡parabol wrth y *gohaddwyr pan ‡ddaliawdd val ydd oeddent yn dethawl yr eisteddleoedd vchaf, ac a ddyvot wrthynt, Pan ith'ohodder gan nep i *neithior,

nag

Yr Euangel y xvij. gwedy Trintot.

*bwyt

‡llyma

†haint dwfr

‡Latmerieit, a i Esponwyr y gyfraith

*gyfatep

‡ddamec

*yr ei a elwesit

‡graffodd, gadwodd

*brodas, nag eiſtedd yn y lle pennaf, rac bot vn anrydedusach na thi wedi 'ohawdd y canto, a' dawot o hwnn ath 'ohoddawdd ti ac ef, a' doedyt wrthyt, Dyro le i hwnn, ac yno dechrae o hanot trwy gywilydd gymeryt y lle iſaf. Eithyr pan ith 'ohoddir, dos, ac eiſtedd yn y lle iſaf, y n y bo pan del yr hwn ath 'ohaddes, ddywedyt wrthyt, Y car, eiſtedd yn uwch i vyny dd: yno y bydd *clod yt yngwydd yr ei n a gydeiſteddant a thi. Can ys pwy pynac a ymdderchafa, ‡'oſtynger, a' hwnn a ymeſtwng, a dderchevir.

‡erddunĩãt moliant *iſelir

Yno y dyuot hefyt ef wrth hwn y gohaddeſeſ, Pan wnelych giniaw nei* gwynos, na 'alw dy gereint, n'ath broder, na'th ‡ genedl, n'ath gymydogion goludawc, rac yddynt wy hefyd *dy 'ohawdd dithe drachefyn, a' chael o hanot ad-tal 'r pvvyth y-ty. Eithyr pan wnelych 'wledd, galw y tlodion, yr efryddion, ‡ yrei anafus, a'r dellion, a' gwynvydedic vyddy, can na allant ad-dal 'r pvvyth y-ty: can ys *ad-telir y pvvyth y-ty ‡ yn-cyuodiadigeth yr ei cyfiawn.

‡ſwper ‡tylwyth, traſeu *adwawdd di ‡cloffion *ith ‡ynghyfodiat

*Yr Eũgel yr ail Sul gwedy Trintot.*

¶A' phã glypu vn o'r ei oedd yn eiſtedd ar y bwrdd y pethae hyn, y dyuot wrthaw, Ys gwynvydedic yr hwn a vwyty vara yn-teyrnas Duw. Yno i dyuot ef wrthaw, Ydd oedd ‡gwr a wnai *gwynos mawr, ac 'ohaddawdd lawer oedd, ac a ddanvones ey was bryd ‡cwynos, y ddywedyt wrth yr ei gohawddedic, Dewch: can ys bot ys awrhon pop peth oll yn parot. A' hvvythe oll *o vn-vryd a ddechreuſont *ymeſcuſodi: Y cyntaf a ddyuot wrthaw, Mi brynais ‡dyddyn, ac mae'n angen

‡neb dyn *ſwper ‡ſwper *o vn bedwl, o gydſynniet ‡wrthot

rhait

rhait i mi vyn'd allan a' gweled hwnw: atolwc y-
ty, cymer vi yn *escusodol. Ac arall a ddyuot, Mi
brynais bemp ‡ iau o ychen, ac ydd wyf yn myn'd i
brovio y'rhe'ini:* adolwc y-ty, cymer vi yn escuse
dic. Ac arall a' ddyuot, Mi briodas wraic, ac am
hyny ny allaf i ddyuot. Ac velly yr adymchwelawdd
y gwas hwnw, ac y menagawdd y'w arglwydd
y pethae hyn. Yno y ‡ digiawdd gwr y tuy, ac y
dyuot wrth y gwas, Dos allan ar *ffrwst, ir heo-
lydd ar ‡ gwigoedd y dinas, a' dwc y mewn yma
y tlodion, a'r efryddon, a'r * anafuson, a'r daillion.
A'r gwas a ddyuot, Arglwydd, e ddarvu val y gorch
mynaist, ac eto y mae lle. Yno y dyuot yr arglwydd
wrth y gwas, Dos ‡ allan ir priffyrdd a'r caeae,
a' chympell wy y ddyuot y mywn, yn y lawnwer
‡ hy-tuy. Can ys-dywedaf wrthych na bydd ir vn
o'r gwyr hyny a 'ohawddwyt * chwaythu dim om
‡ cwynos i. Ac ydd oedd torfae mowrion yn my-
ned y gyd ac ef, ac ef a droes ac a ddyuot wrthynt,
A's daw nebun at y-vi, ac eb gasau ei dat, a' y vam,
a' y wreic a' y blant, a 'broder a' chwioredd: ac e-
to y enaid ehun hefyt, ny ddychon ef vot yn ddisci-
pul i mi. A' phwy bynac ny ddwc ei * groc a' dyuot
ar vy ol, ny ‡ ddygon ef vot yn ddiscipul i mi. Can
ys pwy o hanoch a vei * ar vedr adailiad twr, nid
eistedd yn gyntaf, a' chyffrif y ‡ draul, a oes gan-
thaw ddigon y'vv *'orphen, rac gwedy darvot iddo
'osot y ‡ sail, ac ef eb vot yn abl y'w 'orphen, de-
chreu o bawp oll a ei hedrycho, y watwar ef, gan
ddywedyt, E ddechreuawdd y * gwr hwn adailiat,
ac nyd oedd e abl y'orphen? Neu pa Vrenhin yn
myned.

*escusedic
‡par
*adolwyn
‡llidiawdd
*ar vrys
‡ystrytoedd
*cloffion
‡ymaith
‡vyn hy
*orchwaedu, dasst(os), brovi
‡swper
*groes
‡all
*yn acanu, yn meddwl
‡gost
*gwplau
‡grwnd, grwndwal, sylvaeniat
*dyn

*rebela

mynedi * wneuthu rhybel yn erbyn Brenhin a-
rall, nid eistedd i law'r yn gyntaf, ac ymgygco-
a bydd ef abl a dec mil, y gyfwrdd a hwn's yn dy-
uot yn y erbyn ef ac vcain-mil: Neu tra vo yn-
ym-pell y wrthaw, ef a ddenvyn gennadwri, ac-
ddeisyf arno amodeu ‡ tangneddyf. Velly yr
mod, pwy pynac o hanoch, nyd ymwrthoto ac dy-
meint oll ar * a vedd, ny aill ef vot yn ddiscipul i mi.
Da yw'r halen: eithyr a diflasa'r halen, a ph-
beth yr ‡ helltir ef: Nyd yw ef * wrteithus nac i
dir, nac i domen, and ei davlu allan a wnant. Hw-
'sy iddaw glustiae i ‡ glybot clywet.

‡heddwch
*sy iddo
‡blasheit
* gymmwy-
nasol, dda
yw dodi. &c.
‡gwrando,
gwrandawet

## Pen. XV.

Y Pharisaieit yn grwnach am vot Christ yn derbyn pecha-
rieit. Trugarogrwyd Duw a espesir yn eglaer yn y d-
mec am y can llydn dauat. Llewenydd yn y nef am -
pechatur. Am y map hael-byrllawioc, a drauliawdd y
cwbyl yn over.

*Yr Euangel y iij. Sul gwedi Trintot.*

*grwcnach
grwycho

A No ydd oedd yr ol Publicanot a-
pechaturieit, yn cyniret ato y wr-
daw arnaw. Am hyny * murmu-
rawnaeth y Pharisaiait a'r Gwy-
llen, can ddywedyt, Ef a adderby-
bechaturieit, ac a vwyty y gyd -
wynt. Yno y dyvot ef y ‡ ddamec hon wrthwynt,
gan ddywedyt, Pa *dyn o hanoch a gantho ga-
o ddeveit, ac a chyll e vn o naddwynt, ny ad -
namyn vn pemp-ucain yn y dyffeith, ac a gerdd-
ol y-

‡parabol
*vn

‡anid, ond

ol yr hon a golles, y'n y chaffo ehi: A'gwedy ydaw
hi chahel, ef hei * gesyt ar ei escwyddae yn llawen.
A'phan ddel e-dref, ef a ailw ynghyt ei gereint a
ei gymydogion, can ddoedyt wrthwynt, Cydla=
wenhewch a mi, can i mi gahel ve-davat y go=
llesit. Mi ddywedaf wrthych, mae velly y bydd
llewenydd yn y nef am vn pechatur a ‡ vel ir iavvn
yn vvvy nac am amyn vn peimp-ucain o rei cyfiawn
ac nyd rait yddwynt wellay ei buchedd. A i pa wreic
*ac yddi ddec ‡ dryll o ariant, a chyll hi vn dryll,
ni *olae ganwyll, ac a escup y tuy, ac a gais yn
vanol y n y chaffo? Ac wedy yddi gahel, hi a ailw
am hei charesae a' chymydogesae, can ddoedyt,
Cydlawenhewch a mi: can ys cefeis y dryll a go=
lleswn. Velly, y dywedaf wrthych, y mae llawe=
nydd yn-gwydd Angelion Duw ‡ am vn pechatur
yn dyvot-ir-iawn.

Ef a ddyuot hefyt, Ydd oedd i ryvv wr ddau vap.
A'r ieungaf o hanynt a ddyuot wrth y dat, Tad,
*Dyro i mi y ran o'r da a ddygwydd i mi. Yno y
rhannawdd ef yddwynt y ‡ bywyt. Velly * yn ol
ny-mawr o ddyddiae gwedy, i'r map ieungaf gas=
clu pop peth oll ynghyd, ef a wnaeth daith i wlat
bell, ac yno y goyscarawdd ef ei ‡ dda gan vyw
*yn afradlawn. A' gwedy yddaw dreulio y gyd
oll, y codes drudaniaeth ‡ mawr trwy'r * vro hon=
no, ac yntef a ddechreuawdd vot arno ‡ ddeffic.
Yno ydd aeth ef ac a'lynawdd wrth vn o ddinaswyr
y wlad hono, ac ef y danvonawdd ef y'w vaerdref
y * besky moch. Ac ef a chwenychei lenwy ei vola
a'r ‡ cibe, a * ysei'r moch: ac ny'w roei neb iddaw.

Yno

*dyd
‡edifarha
*a'chanthei
‡pemp ce=mioc
Lloecr pop dryll
*ennyn
‡aruchaf
*Moes
‡dda, olud
*gwedy y=chydic o amser
‡olud
*mewn gw-ddell
‡newynodd
*wlad, ar=tal:
‡eisiae
*borthi
‡code
*bwytaei, borei

Yno y daeth ef ataw y hun ac y dywot, Pa saw
cyflog-*dyn gyd a'm tat 'sy yn cahel ei ‡llawn di
gon o vara, a'minef yn marw o newyn: Mi
godaf ac af at vy-tad, ac a' ddywedaf wrtha
Tad, pechais yn erbyn y nef a' ger dy vrō di ac
wyf mwyach deilwng im galw yn vap yti: g
vi val vn o'th gyflog-dyniō. Ac ef a gyuodes i vy
ac aeth at ei dat, a'phā oedd ef yn hir-bell y vvrthaw
ei dat y canvu ef, a chan drugarhau, ef a redaw
ac a gwympawdd *yn y vwnwg ef, ac ei cusana
A'r map a ddywot wrthaw, Tad, mi pechais y
erbyn y nef, a' cher dy vron di, ac nid wyf mwya
deilwng ‡i'm galw er yn vap yty. Yno dywe
o'r tat wrth ey 'weision, Dygwch allan y wisc ‡
rae, a'gwiscwch am danaw, a' dodwch vod
am ei law, ac escidiae am ei draet, a' dugw
y llo bras, a' lleddwch, a' bwytawn a' byd
lawen. Canys hwn vy map a oedd varw, ac
y *byw drachefn: ac e gollesit, ac ei cahad ef. A
vvy dechreusont vot yn llawen. Yn hyn ydd oe
ey vab hynaf yn y maes, a' phan ddaeth ef, a
nesau at y tuy, e glywei ‡ gygcanedd a char
ac a alwodd ar vn o ei 'weision, ac 'ovynnod
beth ydoedd y pethe hyny. Ac ef a ddywot wrtha
Can ys dy vrawd a ddaeth, a'th dat a ladda
y llo pascedic, can iddo y dderbyn ef yn iach adre
Yno y sorawdd ac nid ai y mewn: am hyny ydd a
ey dat allan ac a *dretiawdd ac ef. Ac yntef a at
pawdd, ac a dywot wrth ei dad, ‡Nycha cymmi
o vlyddynedd ith wasnaethais, ac nyd ayty
vn amser dros dy 'orchymyn, ac erioed ny's

*was
‡gwala
*arucha
‡val. &c.
‡venaf
*allvyw
‡gerdd, gydlais, a dains, ganu, a'chware dawns, chorae
‡bras
*ymnehedodd
‡Wely, synna ny chorais

imfynn, val y gallwn wnaethur yn llawen y gyd a'm cereint. And pan ddaeth dy vap hwn, yr hwn a *yfawdd dy ‡dda y gyd a * phutenieit, ‡ys lleddaist ydaw ef y llo pascedic. Ac ef a ddyuot wrthaw, Ha vap ydd ywti yn oystat y gyd a mi, *ac oll mewi, 'sy dauot. ‡ Raid oedd i ni sirio, a' gwneuthur yn-llawen: can ys marw oedd dy vrawt hwn, *a' byw ydyw, drachefn: ac ef a gollesit, ac ei cahad ef.

*ddifaodd ‡bywyt *budroget ‡ti leddaist *a chyment a veddafi dydi blae ‡Iawn *ac ailvyw a wnaeth

## Pen. xvj.

Christ yn annoc yr ei ef ar ddoethineb a' haelioni, wrth esempl y* goruchwiliwr. Ny ddychon nep wasanaethu dau arglwydd. Ef yn argyweddy trachwant a' ffuc sancteiddrwydd y Phariseaid. Am dervyn a' grym y Ddeddyf. Am lan gyswr priodas. Am y goludawc a' Lazarus.

*pentuylu

AC ef a dyfot hefyt wrth ei discipulō, Ydd oedd rryw 'wr goludoc, ac ydo oruchwiliwr, ac ef a * guhuddwyt wrthaw, ddarvot iddaw ‡ afradloni y dda ef. Ac ef a alwadd arno, ac a ddyuot wrthaw, Peth yvv hyn a glywaf am danat? dyrho gyfri o'th * orchwyliaeth: can na elly gahel mwy oruchwiliaw. Yno y dybot y goruchwiliwr yntha-w ehun. Pa beth a wnaf: can ys bot vy arglwydd yn dwyn yr oruchwiliaeth y arnaf? Cloddiaw ny allaf, a' chardota 'sy ‡ wradwydus genyf. Gwnn beth a wnaf, pan im bwrier o'r 'orchwylieth mal

*Yr Evangel y ix. Sul gwedy Trintot.*

*athrotwyt ‡opscary, afrady, difwyll tranu *tuylywodraeth ‡gywilyddus

fin derbyniont * y'w taie, Yno gwedy iddaw
ato pop vn o ddyledwyr ei Arglwydd, y dy
wrth y cyntaf, Pa beint a ddyly vy Arglwy
ty? Ac ef a ddywot, Cant ‡ mesur o * oleo. Ac
ddywot wrthaw. Cymer dy escriven, ac eist
ebrwydd, ac escrivenna ddec a' deucain. Yna y
wot ef wrth vn arall, Pa gymeint o ddlet sy a
ti? Ac ef a ddywot. Cant ‡ mesur o wenith, Yn
y dywot ef wrthaw, Cymer dy escriven, ac e
venna petwar-vcain. Ac a ganmolawdd yr Ar-
glwydd y gorucwyliwr ancyfiawn, am iddaw
wneythyd yn * synhwyrol. Can ys synwyrolach
yw ‡ plant y byt hwn yn ei cenetlaeth na phlant
y golauni. A' mi a ddywedaf y w'ch. Gwnewch y-
chwy * gereint ‡ a golud enwiredd, val pan vo
siae arnoch, ich derbyniant i'r * trigvae tragy-
thawl.

Hwn 'sy ffyddlawn yn ‡ y lleiaf, ysy ffyddlawn
hefyd yn llawer: a' hwn 'sy ancyfiawn yn * lleiaf
ys y ancyfiawn hefyt ‡ yn llawer. Can hyny a
's buoch ffyddlon ion yn y * golud enwir, pwy a
gred y chwy yn y gwir olud? Ac any's buoch ffydd
lon ion yn-da vn arall, pwy a rydd y-chwy, yr hwn
's yd ‡ ywch'? * Nyd oes neb gwas a ddychon wa
sanaethu dau arglwydd: can ys ai'n aill ai ef a
gasaa vn, a' charu'r llall: ai ef a'lyn wrth y naill
a' ‡ thremygu'r llall. Ny ellwch wasanaethu
Duw a' * golud. A'r pethae hyn oll a glybu y Pha
risaiait hefyt, yr ei oedden ‡ gubyddion, a' gwa
tworesont ef. Yno y dyuot wrthynt, Chwychwi
yw'r ei ai cyfiawna vvch ych hunain * yn-gwydd
dynion

*yddy
‡tunnell
*oyl, yyl
‡crynoc
*brud, gall, gymmen, bwylloc
‡meipion
*geredigiō
‡or
*lluestai, pepyll
‡yr ychydi-caf
*yr ychydi-caf.
‡mewn
*mamon, cyfoeth an-cyfiawn
‡eiddoch
*Nid oes gwas.&c.
‡diystyru, escaeluso,
*mamon, chyvoeth
‡ariangar, angor, chwangogion, bewydus
*geyrbron

dynion: a' Duw a'wyr eich calonae: can ys y peth
y mevvn vchelfri gyd a dynion, y sy * ffiaidd ‡ yn-
gwydd Duw. Y Ddeddyf a'r Prophwyti a barahodd
yd Joan: ac er y pryd hyny y * precethwyt teyrnas
Duw, a' phawp dyn 'sy'n ‡ tori y mewn y-ddei. A'
haws yw i nef a' daiar * vyned heibio, nac y bydd
vn titul o'r Ddeddyf gwympo.

Pwy pynac a' ddellwng ei' wraic ymaith, a'phri
odi arall, mae'n ‡ tori priodas: a' phwy pynac a
brioto hon a ollyngwyt ymaith y wrth y gwr, a
wyr briodas.

Ydd oedd * ryw 'wr goludawc a oedd yn gwis-
co ‡ porphor a * llicin-main, ac yn cymeryd ei vyt
yn ddaentethol ac yn voethus peunydd. Ac ydd
oedd rhyw gardotyn a' ei enw Lazarus, yr hwn a
bwrit wrth y borth ef yn gornwydlyt, ac yn chwe-
nychy cahel ei ‡ borthi a'r briwsion, a syrthient
y ar vort y gwr goludawc: eithyr a' dawot o'r cwn
a'llyfu y gornwydedd ef. Ac e ddarvu, bot i'r car-
dotyn varw, ac ef ducpwyt can yr Angelon i von-
wes Abraham. A' marw o'r gwr-goludawc, a'ei
gladdy a wnaethpwyt. Ac ef yn yffern mewn po-
enae, y cyvodes ei * olygon, ac a weles Abraham
yn-pell o yno, a' Lazarus yn ei vonwes. Yno y
llefawdd, ac y dywawt, y Tat Abraham, trugarha
wrthyf, a' danvon Lazarus, y ‡ drochy blaen ei
vys mewn dwfyr, ac oeri vy-tafawd: can ys ym
poenir yn y flamin honn. Ac Abraham a ddyvot
Ha vap, * coffa yt gymeryt dy wynvyt yn dy vy-
wyt ‡ yn gyffelip ac y cymerth Lazarus advyt: ac
yr awrhon y conffordir ef, ac y poenir titheu. Ac eb

*ddygas
‡yngolwc,
geyrbron
*yr evange
lwyt
‡ymyrru,
ymsengi,
ymwthio,
ymdynu,
*drengi
‡gwnaeth-
wr godineb
*neb gwr
*Yr Euangel y Sul cyntaf gwedy Trintot.*
‡purpur,
*sidan
‡porthi
*lygait
‡wlychy
*meddwl
‡yrvn ffwt

law hynn oll, y rhyngom ni a chwi y mae *gwa-
dor dirvawr wedy 'r osot, mal yr ei a ewyllysy-
wynet o ddyma ato-chwi ny allant, nac o dd[illegible]
ddybot ‡ atam ni. Yno y dybot ef. Can hyny
tolygaf y-ty dat, y ddanvon ef y duy by-
bleit y mae i mi pemp broder) val testolaeth
wynt, a rac yð wynt wy dawot ir poenva
Abraham a ddybot wrthaw. Mae ganthwy
Moysen a'r Prophwyti, gwrandawant arnwy
wy. Ac ef a ddybot, Nage, y tat Abraham:
thyr pe dauei vn attwynt y wrth y meirw,
‡ wellaent ei buchedd. Yno Abraham a ddybot
thaw. Any wrandawant Moysen a'r Proph-
ny's credent chvvaith, pe's * cybodei vn ‡ y wrth y
meirw.

*diffwys
‡yma
‡addolwyn
*hynn
‡edifarhaet
*adgyfodei
‡o veirw

## Pen. xvij.

Christ yn dyscu ei ddiscipulon i ochelyd achos rhwystr
y vn baddae ir llall. Dyly o hanam weddiaw am[illegible]
negu ffydd. Ef yn mawrygu rhinwedd ffydd. Ac yn
gos anallu dyn. Ef yn iachau dec or clwyf gohan[illegible]
echu o'r dyddiae dywedaf, ac o ddywedd y byd.

Yno y dywot ef wrth ei ddiscipulon
Ny aill bot amgen, na daw *rhw[illegible]
strae, and gwae ef drwy 'r hwn[illegible]
danant. Gwell oedd yddaw [illegible]
crogit maen melin mavvr yn-ch[illegible]
ei ‡ bwngl, a'ei dablu i'r mor, [illegible]
bod iddaw rwystraw vn o'r ei [illegible]
chain hyn.

*sclandron, trancwydd
‡nodolwf

Cedwch arnoch eich hun: a's gwna dy brawt *sarhad yn dy erbyn, ceryδda ef: ac a's yvv edifat gantaw, maddae y-ddaw. A' chyd pecho ith erbyn saithwaith yny dydd, a' seithwaith yn y dydd troi atat, gan ddywedyt, Mae'n etiuar genyf, maddae y-ddaw. A'r Apostolon a ddywedesont wrth yr Arglwydd, Angwanega ein ffyd. A'r Arglwydd a ddywot, Pe bai genwch ffyd cymmeint ac yvv gronyn o had mustard, ac a dywedech ymblanna yn y mamin hwn, Ymddadwraiddia, ac wrth y pren ‡ sycor, ys ufyddhay ef y-chwy.

*pechot, camwedd

‡ffiguswr

Pwy o hanoch hefyt ac iddo was yn aredic neu yn porthi da, a ddywait wrthaw yn y van, yn ol dyuot o'r maes, Dos, ac eiste'i lawr y vwyta? ac ny ddywait yn hytrach wrthaw, *Cyweiria hyn a swpercwyf, ac ymwregysa, a' gwasanaetha vi, nes imi vwyta ac yfet, ac wedy hyny bwyta, ac yf dithe? A ddiolch ef ir gwas hwnw tan wneythyd o hanaw hyn a'orchymynesit y-ddaw? nyd wy'n tybiet. Ac velly chwitheu, gwedy gwneloch pop peth oll, ar a orchymynwyt y-chwy, dywedwch, Paam, Gweision ‡ anvuddiol ym: can ys hyn a ddylesem ey wneuthyd, a wnaetham.

*Paratoa, Ar lwy, Trwsia

‡aflesol

¶Ac velly y darvu ac ef yn mynet i Caerusalem, ac ef a ddeuth trwy* genawl Samaria a' Galilea. Ac mal ydd oed ef yn myned y mewn i ryw ben-tref, y cyvarvu ac ef ddec-wyr ‡ gohanglaf, yr ei a safesant o hirbell. Ac wy godesont ei llefae, tan ddywedyt, Iesu, y Llywydd, trugarha wrthym. A' phan welawdd ef wy, y dywot wrthynt, Ewch, ymddangoswch ir Offeiriait. Ac e ddarbu, ac

*Yr Euangel y xiiij. Sul gwedy Trintot.*

*berbedd

‡clafwr

bu, ac wy'n yn mynet y glanhawyt hwy. Yno ... o hanwynt, pan welawdd ddarvot ei iachau, a ymchwelawdd, ac a llef vchel e roes 'ogoniant y Dduw, ac a gwympawdd ar ei wyneb wrth y draet ef, can ddiolvvch yddaw: a' hwn oedd Samarit. A'r Iesu a atepawdd ac a ddyvot, A ny lanhawyt dec? a' ph'le mae'r naw? Ny chahat a ddelynt i roi gogoniant i Dduw, oddeithr yr estrawn hwn. Ac ef a ddyvot wrthaw, * Cyvot, does ymaith, dy ffydd ath iachaawdd.

A' phan ‡ yr ymofynit yddo y gan y Pharisaiait, pa bryd y * dauei teyrnas Duw, yr atepei yddynt, ac y dywedei, Ny ddaw teyrnas Duw wrth ‡ dyogwyl. Ac ny's dywedant, * Wely, yma, ne wely yna: canys wely y mae teyrnas Duw o'ch mewn. Ac a ddyuot wrth y discipulon, Eddaw'r ‡ amser pan ddeisyfoch 'weled vn o ddyddiae Map y dyn, ac ny's gwelwch. Yno y dywedant wrthych, * Wele yman, nei wele ‡ yna: eithyr nag ewch yno, ac na ddylynwch wy. Canys megis y * vellten a vellte na o yvvrth vn van y dan y nef, a dowyn i van arall y dan y nef, velly y bydd Map y dyn yn y ddydd ef. Eithyr yn gyntaf ‡ dir yw iddo ddyoddef llawer o bethae, ai * argywcddy y gan y genedleth hon. A' megis y darvu yn-dyddiae Noe, velly y bydd yn-ddiae Map y dyn hefyt. Bwytaent, yfent, gwreicaent, a' gwrhaent, yd y dydd ydd ai Noe i'r ‡ Arch, a' daeth y * diliv, ac ei ‡ cyfertollawdd vvy oll. Yr vn modd hefyt, mal y darvu yn-dyddiae Lot: bwytaent, yfent, prynent, gwerthent, plantent, adailent. Eithyr y dydd ydd aeth Lot allan o Sodoma, y * gla-

*Cwyn
‡yr holit
*delei
‡chadw, gwilad
*Synna, Eici
‡dyddiac
*Nychaf
‡accw
*lluchet yn discleirio
‡rait
*ddiystyru
‡llong
*dilif, llif mawr
‡dinistroedd

y * glawiodd hi tan a' brwmstan o'r nef, ac y difini-
strawdd vvy oll. Erwydd yr esemplæ hyn y bydd yn
y diernot yr ‡ ymddengys Map y dyn. Yn y dydd
hwnw yr hwn ys ydd arucha y tuy, a'ei * ddodrefn
yn tuy, na ddescendet y'w gymeryd allan: a' hwn
'sy yn y maes yr vn ffynyt, na ddadymchweled at
yr hyn a adavvodd ar ol. ‡ Cofiwch 'wreic Lot. Pwy
pynac a gais gadw ei enait, ef ei cyll: a' phwy py-
pynac ei cyll, ei bywocaa. Dywedaf y-chwy, y nos
hon hono y bydd dau mewn-vn gwely: vn a dder-
bynir, * a'r llall a edewir. Dwy byddant yn ma-
lu ‡ yn yr vn-lle: y naill a gymerir, a'r llall a ede-
wir. Ac vvy a atebesont, ac a ddywedesont wrth-
aw, Ple, Arglwydd? Ac ef a ddyuot wrthynt,
Ple bynac y bo'r * corph yno hefyt yr ymgascl yr e-
ryrod.

*glawiswyt
‡ymadcuð y didoir, eglurir
*lestri
‡Coffewch Meddyliwch Mefyriwch
‡pair
*ar all, ac arall
‡ynghyt
*gelain

## Pen. xviij.

Wrth esempl y *weddw, a'r Publican y dysc Christ pa wedd y mae gweddiaw. Wrth esempl y plantos yr eiriol ef y-fylldot. Am y ffordd y byddir cadwedic, a' pha bethae a 'rwystrant. Y gwobyr addawedic ir ei yddo ef, Ac am y groes.

AC ef a ddyuot hefyt barabol wrthynt,
ys ef i hyn, y * dylynt weddiaw yn
'oystat, ac eb ‡ ddeffigiaw, gan ddy-
wedyt, Ydd oedd brawdwr yn-ryw
ddinas, yr hwn nid ofnei Dduw, ac
ny pharchei ddyn. Ac ydd oedd gvv-
tlaic-gweddw yn y dinas hono, yr hon a * ddoy at-

*bydd rait, y bydd dir
‡vuscrellu
*ddawei

pylon, ei ceryddu * a orugant. A'r Iesu ai galw=
awdd wy ataw, ac a ddyuot, Gedwch i'r ‡ bech=
cenot ddyuot ataf i, ac na 'oherddwch wy: can ys
ir cyfryw * y mae teyrnas Duw. Yn wir y dywedaf
wrthych, pwy bynac ny dderbynio teyrnas Duw
val bachcenyn, ny bydd iddo vyned oe i mywn hi.
Yno y gofynnawdd ryw lywiawdr iddaw, gan
ddywedyt, Athro da, pa beth ‡ 'sy imi y'w wneu=
thur, i veddu bywyt tragybythawl? A'r Iesu a
ddyuot wrthaw, Paam ym gelwy vi yn dda? nyd
da neb un dyeithr vn, sef Duw. Y gorchmynnion a=
wyddost, Na * wna odineb: Na ladd gelain: Na latra=
ta: Na ddwc ffalstestiolaeth: Anrydedda dy dat a'th
vam. Ac ef a ddyuot, Hyn oll a gedweis o'm ieuenctit.
Gwedy clybot o'r Iesu hyn, y dyuot wrthaw. Et=
wo mae yti vn peth yn ‡ eisiae. Gwerth cymmeint
oll ac ys-y * ar dy helw, a' chyfrana i'r tlodion, a'
thi gai drysawr yn y nef, a' ‡ dyred, dilin vi. A'n'd
pan glybu ef y pethe hyny, bod yn * drathrista or ug
ef: can ys goludawc aruthr y oedd. A' phan y
gwelas yr Iesu y vot ef yn drathrist, y dywedawdd,
‡ Pa'nd anhawdd ir ei 'sy a golud yddynt vyned i
deyrnas Duw? Can ys * hawsach i gamel vyned
trwy gran nodwydd ddur, nag i'oludawc vyned i
deyrnas Duw. Yno y dywedynt yr ei ai clybu, A'
phwy ynte a aill vot yn gatwedic? Ac ef a ddyuot,
Y pethae ys-y * ampossibil y gyd a dynion, 'sy po=
ssibil y gyd a Duw.

Yno y dyuot Petr, ‡ Nacha ys gadawsam ni y
cwbl oll, ac ath ddylynesam di. Ac ef a ddyuot wr=
thynt, Yn wir y dywedaf wrthych, Nid oes vn a'r

P. v. a ada=

*wnaethant
‡rei bych=
ein, plantos
*blae
‡a ddylyswn
*thor briodas
‡ol
*yn
‡dabre
*dristiawn
a wnaeth
‡Pond,
Mor,
*hawddach
‡anallus
*Wely

a adawodd duy, neu rieni, neu broder, neu wreic, neu blant, *o bleit teyrnas Duw, a'r ny's derbyn lawer yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw, buchedd dragywythawl.

* er mwyn

*Yr Euangel ar Sul Quinquagesima.*

¶Yno y cymerth yr Jesu attaw y deuddec, ac a ddywot wrthynt, Nycha, ni yn mynet i vyny i Caerusalem, ac a gyflawnir i vap y dyn bop peth, ys y yscrivenedic *can y Prophwyti. Can ys ef a roddir ir Cenetloedd, ac a ef watwarir, a geblir, ac a boerir arnaw. A' gwedy yddynt y fflangellu, ac y lladdant ef: a'r trydydd dydd y cyfyd trachefyn. Ac wy ni ddyallesont ddim o'r pethae hyn, ac ydd oedd ‡y gair hwn yn guddic rhacddynt wy, ac ny wybuont y pethau a ddywedesit. Ac e ddarvu, ac ef yn dynesay at Jericho, bot rhyw ddyn dall yn eistedd ar ymyl y ffordd, yn cardota. A' phan glywodd ef y pobyl yn mynet heibio, e ymovynodd beth oedd hyny. Ac wy a ddywedesont yddaw, mae'r Jesu o Nazaret oedd yn mynet heibio. Ac ef a lefawdd, ac a dywot, Jesu vap Dauid, trugarha wrthyf. A'r ei oedd yn mynet o'r blaen, y ceryddent ef, val y tewi a son. Ac ef a levawdd vwyvwy, Mab Dauid, trugarha wrthyf. A'r Jesu a safodd, ac a *orchymynawdd ei ddwyn ef attaw. A' gwedy ddawot ef yn nes, e ovynnawdd yddaw, can ddywedyt, Beth a vynny imi wneythyd y ty? Ac ef a ddywot, Arglwydd, cahel-vy-golwc. A'r Jesu a ddywot wrthaw, Cymer dy olwc: dy ffydd a'th iachaawdd. Ac yn ebrwydd y cavas ei olwc, a *chanlynawdd ef, gan roddy gogoniant y Dduw.

* trwy

‡ yr ymadrodd, y peth

* dylynoedd

a'r oll popul, pan welsont hyn, a roesont voliant i Dduw.

## Pen xix.

Am Zacchaius, y dec darn bath. Christ yn marchogeth i Caerusalem, ac yn wylaw drostei. Ef yn ymlid y marsiand y maes. Ai 'elynion yn caisiaw y ddifetha ef.

A'Gwedy dyuot yr Iesu y mywn a' myned trwy Iericho, wely'wr a elwit ei enw Zacchaius, *a hwn oedd ben-cais-y deyrnget, a' goludawc ydoedd. Ac ef a geisiai weled yr Iesu, pwy vn ydoedd, ac ny's gallai ‡gan y dorfa, cā nad oedd anyd bychan o gorpholeth. Yno y racredawdd efo'r blaen ac a dringiawdd i fficusbren-gwyllt, y gahel y weled ef: can ys ffordd hono y dawei. A' phan ddaeth yr Iesu ir lle, *yd edrychawdd y vynydd ac ei gweles ef, ac y dyuot wrthaw, Zacchaius, ‡descend ar vrys: can ys heddyw 'mae yn *dir i mi aros yn dy duy di. Yno y descendawdd ef ar ffrwst, ac y derbyniawdd ef yn llawen. A' phan ei gwelsant wy oll, ‡murmuro a wnaechant, gan ddywwedyt, vyned o hanaw y *letuyaw at 'wr ‡pechaturus. A' Zacchaius a safawdd racddaw, ac a ddyuot wrth yr Arglwydd, Wely, Arglwydd, haner vy-da a roddaf yn awr ir tlodion: ac as dugym ddim y ar nep trwy hocced, mi ei talaf yn bedwar *plyc. A'r Iesu a dyuot wrthaw, Heddyw y daeth ‡iachydurieth i'r tuy

*yr
‡rac yr, ymsang
*isel
*ytremioedd
†dyre i lawr: yn glau
*raid
‡grwgnach
*letteuy
‡anvucheddol
*cymmeint:
‡iachawdurieth

i'r tuy hwn, o herwydd *iddo ef ddyuot yn
Abraham. Can ys-daeth Map y dyn y gais
ac y gadw ‡yr hyn a gollesit. Ac a'n hwy yn
wet y pethae hyn, y paraodd yn dywedyt par
o bleit ei bot yn gyfagos i Gaerusalem, ac
hefyd ey bot yn tybiet mai eb ohir yr ymddang
teyrnas Duw. Ef a ddyuot gan hyny, Ryw
*bonheddic ai y ymdaith y wlat bell, y dderbyn
deyrnas, ac a ‡dauei drachefyn. Ac ef a alwei
ei ddec gwasiou, ac a roddes atyn ddec *
‡bath, ac a ddyuot wrthynt, *Marchnatewch
y ddelwyf. Eithyr ei ddinaswyr y caseynt ef,
ddanvonesont genadvvri ar y ol ef, gan ddywedyt,
Ny vynnwn ni bot hwn yn teyrnasu arnam.
ddarvu, pan adchwelawdd, a'i derbyn ei deyrnas,
yno y gorchymynawdd alw ei weision atau,
yr ei y roddesei ei arian, val y cay wybot beth
wesei pop vn. Yno y daeth y cyntaf, gan dywedyt,
Arglwydd, dy ‡darn a *elwodd ddec-darn.
ddyuot wrthaw, ‡Di was da: can ys-bu
ffyddlawn yn echydigyn, cymer *veddiant a
dinas. Ac e ddaeth yr ail, gan ddywedyt,
wydd, dy darn a ‡elwodd beimp darn. Ac
hwnw y dyuot, A'byddi dithe lywiawdr ar ucha
dinas. *Ac arall a ddaeth, gan ddywedyt,
wydd, ‡nycha dy darn, yr hwn oedd genyf
ddody y gadvv mewn *ffunen. Can ys-ith ofnais
o bleit dy bot yn wr ‡dirfing: ti gymery i vyny
hyn ny ddodeist i lavvr., ac a vedi'r hyn ny heu
Yno y dywedawdd wrthaw, Oth enae dy hun
varnaf, was ‡drwc. Gwyddyt' vy-bot i yn' wr
sing

*iti
‡y peth
*cenedloc
‡dadymchwelei
*dryll
‡bonei, arsa
*Marsiadewch, Masnechwch, Bargeniwch
‡amlhesei, enillesei
*ddryll
*amplhaod
‡Dian, wi, Dibai, Tec
*awdurdot berchenogeth
‡amplhodd
*Ar llall
‡wely
*pilyn, cadach, napcyn, cwrsi
‡tyfing, gwrthnawsic, cyntil, anynad
*mall

yn cymeryd i vyny hyn ny ddodwn i lavvr, ac yn medi hyn ny heuwn. Paam gan hyny na roddyt vy arian *i'r bord, val y gallwn pan ddelwn, ei gofyn y gyd ac ‡elwant? Ac ef a ddyuot wrth yr ei a sefynt geyr-llaw, Dugwch y gantho y ddarn, a'rhowch i hwn'sy a'r dec darn gantho. (A' hwy-thwy a ddywedesont wrthaw, Arglwydd, y mae gantho ddec darn.) Eb yntef, Canys dywedaf wrthych, *taw i bawp y may gantho, y rhoddir: ac y ar hwn nyd ‡yw gantho, ys yr hyn'sy ganto, a ddugir oddyarnaw. A'hefyt vy-gelynion hyny, a'r ny *vynnent deyrnasu o hanof arnaddynt, dugwch yma, a' lleddwch wy geyr vy-bron.

A' gwedy y-ddaw ddywedyt val hyn, ef *aeth y ymddaith o'r blaen, gan escend i Gaerusalem. Ac darvu gwedy nessau o hanaw ‡at Bethphage, a Bethania, *wrth y mynyth a elwir mynydd yr olew-wydd, e ddanvonawdd ddau o ei ddisciplon, gan ddywedyt, Ewch i'r *dref'sy ‡gyferbyn a chvvi, ir hon, gwedy y deloch, y cewch ebol gwedy rwymo, ar yr hwn nyd eisteddawdd ‡dyn eriod: gellwngwch ef, a' dugwch yma. Ac a's gofyn neb y chwi, paam y gillwngwch ef, velly hyn dywedwch wrthaw, O bleit bot ar yr Arglwydd ei eisiae. Yno yr ei a ddanvonit, aethant ymaith, ac a gawsant megis y dywedesei ef wrthynt. Ac a'n hwy yn gellwng yr ebol, y dywedawdd ei berchenogion wrthynt, Paam y gellyngwch yr ebal? Ac wy a ddywedesant, Y mae ar yr Arglwydd ey eisiae.

Yno y* ducesont ef ‡at yr Iesu, ac y bwriesont ei

dillat

*ynybanc, at yr ariantwyr
‡vsur, ocr, mantais
*may
‡oes
*ewyllysec
*al cerddodd hi, ai cynnodd hi
‡i
*ger llaw
‡olivar
*twic
‡gyfeiryd
*ynchlwym
‡ryn
*thwysosant
‡ir

dillat ar yr ebol, ac y dodesont yr Iesu *arnaw
Ac a'n hwy yn myned, y tanent ei dillat
ffordd. A' gwedy ydd aw ‡ ddynesau at *ddesc
mynydd yr olew-wydd, y dechreawdd oll
y discipulon ‡lawenhau, a' moly Duw a llef uch
dros yr oll *veddiannae a welesynt, gan dyw
Ys gwyn vydedic y Brenhin 'sy yn dyvot yn
yr Arglwydd: ‡tangneddyf yn y nef, a' gogo
yn y lleoedd uchaf. Yno 'r ei o'r Pharisaieit o'r
a ddywedesont wrthaw, Athro, *cerydda dy disci-
pulon. Ac ef a atepawdd, ac a ddyuot wrthwy
Dywedaf y-chwy, pe's tawei ir ei-hyn, ys lleiaf
‡main.

¶ Ac wedy iddo ddyuot yn agos, ef edrych
y dinas, ac a wylawdd * drosdei, gan ddy
A' phebyssei i ti wybot, or lleiaf yn dy dydd
yma y pethae hyny a perthynant ith ‡dangne
onid yr awrhon wy guddiwyt y wrth dy
Can ys e ddaw'r dyddiae arnat, ac y bwry
'elynion glawdd yn dy 'ogylch, ac ith amgy
nant, ac ith 'oarchaeant o pop-parth, ac ath
yn *gyd oystat ar ddaiar, ath plant 'sydd yn
ny adant ynot vaen ar ‡ vaen, can na adno
amser dy * ofwy. Ac ef aeth y mewn ir Temp
a ddechreawdd, ddaely allan yr ei'n oedd
yn gwerthy yntei, a' rei oedd yn prynu, can
edyt wrthwynt, Escrivenwyt, Y tuy men
tuy gweddi, a'chwi ei gwnethoch yn 'ogof lla
Ac ydd oedd ef yn eu dyscu beunydd yn y Tem
A'r Archoffeiriait, a'r Gwyr-llen, a phena
'r ‡popl a geisiesōt y *difa ef. Ac ny chefynt be

*arnaw
‡dyuot yn agos at droet
*gorywared
‡lawenychu
*wyrthiae
‡heddwch
*argyweda
ysdwrdia
‡ceric

*Yr Euangel y x. Sul gwedy Trintot.*
*am denei
‡heddwch

*yn llawr vaes
‡ei gylydd
*ymwelfat

‡plwyf
*golli, ddiuetha

wnaent iddaw: can ys yr oll popul *ymlynent wrthaw, pan glywent ef.

*ymgrogēt oedd at coel arnaw

## Pen. .XX.

Christ yn gwiriegu ei wrthnebwyr a' * gorchest arall. Yn dangos y distrywiat wy drwy ar ddamec. Awdurdot Llywyawdwyr. Y cyuodedigaeth a ei ddwywol beddiant. Ef yn beio ar vocsach a' rrybic y Gwyr-llen.

*chvvestiō

AC e ddarvu ar vn o'r dyddiae hyny, ac ef yn dyscu'r popul yn y Templ, ac yn Euāgelu, yr Archoffeiriait, a'r Gwyr llen a ddaethant *arnaw y gyd ar Henafieit ac a lafaresont wrthaw, gan dywedyt, Dywait i ni wrth pa awturtot y gwnai di y pethe hyn, nai pwy a roes i ti yr awturtat hyn? Ac ef a atepodd ac a ddyuot wrthwynt, A' minef a ovynaf i chwithe, vn-peth: dywedwch ymy gan hyny: Betyd Joan ai o'r nef ydd oedd, ai o ddynion? A' hwy a resymesōt ynthyn y hunain, gā dywedyt, A's dywedwn ‡mai o'r nef, ef a dywait, Paam gan hyny na chredech y-ddaw? Ac a's dywedwn Mai o ddynion, yr oll popul a'n llapyddia ni: can ys-‡diogel yvv ganthwynt *mai Prophwyt oedd Joan. Am hyny yr atebesont, na wyddent o b'le ydd oedd. Yno y dyuot yr Iesu wrthynt, Ac nys ddywedaf vinev y chwithev, trwy pa awdurdot y gwnaf y pethae hyn.

*ar ei ucha

‡taw

*honest, credadwy

‡vot. &c.

Yno y dechreawdd ef ddywedyt wrth y ‡plwyf y parabol hyn, Gwr oedd a blannei winllan, ac y llocawdd

*popul, werin

ddyuot i mi gymeint oll ar a wnaethym. Anyd hwn yw'r Christ? Yno mynet o hanynt allan o'r dinas, a' dyuot ataw.

Yn cyfamser, * ydd archei y discipulon ‡ iddo, gan ddywedyt, * Rabbi, bwyta. Ac ef a ddyuot wrthynt. Mae ‡ y mi bwyt y'w bwyta, a'r ny wyddo-chwi. Yno y dyuot y discipulon wrth ei gylydd, A ddwc nep yddo bwyt? Yr Iesu a ddyuot wrthynt, Vy-bwyt i yw gwneuthur ewyllys yr hwn a'm danvonawdd i, a' gorphen y waith ef. A ny ddywedwch-chwi, Mae etwa petwar-mis ic, ac yno y daw'r cynayaf? * Nychaf, y dywedaf y chwi, ‡ derchefwch eich llygaid, ac edrychwch ar y * bro ydd: can ys gwynion ynt eisus ‡ ar gynayaf. A'r hwn a * gynayafa a dderbyn gyfloc, ac a gynull ffrwyth i vywyt tragyvythawl, mal y bo ac ir hwn a heuo, ac ir hwn a ‡ gynayafa gael gydlawenechu. Can ys yn hyn y mae'r * gair yn 'wir, Mai yn a heuha, ac arall a ved. Mi a'ch danvoneis chwi i vedi yr hyn ny's ‡ llafurieso-chwi vvrtho: eraill a * lafuriesont, a' chwitheu a aethoch y'w ‡ llafur hwy. Yno llawer o'r Samarieit o'r dinas hono a gredesont ynddaw, o bleit hyn * a ddywedawdd y 'wraic yr hon a destolaethesei, Ef a ddyuot i mi gymeint oll a'r a wnaethym. A' phan daeth y Samarieit ataw, ydd atolygesant yddaw, = ‡ aros y gyd a hwy: ac ef a arosawdd yno ddau ddiwarnot. A' mwy o lawer o gredesont o bleit hyn a ddywedawdd ef ehun. Ac wy a ddywedesont wrth y wreic, Nid ym yn credu weithian o bleit a ddywedais-ti: can ys ni a ei clywsom ef ynunain,

*adolygawdd
‡arno
*Athro
‡genyf
*Wele
‡codwch, clwnwch
*gwledydd
‡yw cynayafu
*hed
‡hedo
*dywediat
‡thrasaesoch
*drafaelcsō
‡trafel
*dwediat
‡drigiaw, dario

ac a wyddam mai hwn yn ‡ ddiau yw'r Christ ar Iachawdur y byd. *ddilys

Wedy 'r ben y ddau-ddyð ef aeth ymaith o ddyno, ac aeth ir Galilaia. Can ys-ef yr Iesu a destolaethesei, na ‡ chae Prophwyt anrydeð yn ei wlat ehun. yno wedy y ddyuot i'r Galilaia, ydd erbynynt y Galilaieit ef, yr ei a welsont yr oll pethe a wnaethoedd oedd ef yn-Caerusalem ar yr *wyl: can ys wy hefyt a aethent ir 'wyl. A'r Iesu a ddaeth drachefyn i'r Cana tref yn-Galilaia, lle gwnaethoedd oedd ef y dwfr yn 'win. ‡chai *ffest

¶Ac yð oeð ryw *Pendevic ac ydaw vap yn glaf yn-Capernaum. Pan glypu ef ddyuot Iesu o Iudaia i'r Galilaia, ydd aeth ef ataw, ac a atolygawdd yddaw ddybot i waret, ac iachay y vap ef, can ys ydd oedd e ‡ wrth vron marw. yno y dywot yr Iesu wrthaw, A ny welwch arwyddion a'ryveddodae, ny chredwch. y pendevic a ddyuot wrthaw, Arglwydd, dyred * i wared cyn marw vy map. yr Iesu a ddybot wrthaw, Does ymaith, mae dy vap yn byw: a' chredawdd y ‡ dyn y gair a ddywedesei'r Iesu wrthaw, ac aeth ymaith. yr awrhon ac ef yn mynet i wared, y * cyfarvu ei wasanaethwyr ac ef, ac y vanegosont, gan dywedyt, Mae dy vap yn byw. yno y gobynawdd ef yddwynt yr awr y gwellaesei arnaw. Ac wy a dywedesont wrthaw, Doe y seithfet awr y gadawdd y *cryd ef, yno y gwybu'r tat ddarvot yn yr awr honno y dywedesei'r Iesu wrthaw, Mae dy vap yn byw A' chredy a wnaeth ef, a' ei oll tuy. yr ail ‡ miragl hynn a wnaeth yr Iesu drachefyn, wedy y ddyvot

*brenhinol

*Yr Euãgel yr xxi. Sul gwedy Trintot.*

‡ymbron

*obry

‡gwr

*cyhyrddawdd

*ddeirton

‡arwydd gwyrth

es o'r Iuddaia i'r Galilaia.

## Pen. v.

Cyn iachau yr dyn a vesei glaf amyn dwy blyddedd da'ugain. Yr Iuddaeon yn y gyhuddaw ef. Christ yn atep trosdaw chun, ac yn y argyoeddy hwy. Can ddangos drwy dessoliaeth ei Dat, Am Joan. O y weithredoedd ef Ac o'r Scrythur 'lan pwy 'n yw ef.

GWedy hyny, ydd oedd * gwyl yr Iuddaeon, a'r Iesu a escendawdd i Caerusalem. Ac y mae yn-Caerusalem wrth y ‡ devaidiawc 'lyn a elwir in Ebreo Bethesda, ac iddo pemp porth: yn yr es'n y gorwedei lliaws mawr o gleifion, o ddaillion, cloffion, a' gwrwedigion, yn dysgwyl am gyffroedigeth y dwfr. Can ys Angel yr Arglwydd a ddescennei ar amserc ir llyn, ac a gynnyrfei 'r dwfr: yno pwy pynac yn gyntaf ar ol cynnyrfiat y dwfr, a ddescendai y mywn, a iachaid o ba ryw *haint bynac a vei arnaw. Ac ydd oedd yno ryw ‡ ddyn yr hwn a vesei yn glaf *n'amyn es dwy ‡ blwyddyn da'ugain. Pan 'welawdd yr Iesu ef yn gorwedd, a' gwybot y bot ef ys cyhyd o amser yn glaf, ef a ddyuot wrthaw, A wyllysy dy wneuthu'r yn iach? Atepawdd y claf yddaw, Arglwydd, nyd oes genyf nep, pan gynnyrfer y dwfr, i'm *dodi yn y llyn: eithyr tra vwy vi yn dyuot, arall a ‡ddescend o'm blaen. Dywedawdd yr Iesu

* ffest
‡ ddefeidfa, varchnat, defeid
* glwyf
‡ wr
* and
‡ blynedd
* bwrw ir llyn
‡ neida

*Cwyn
‡wely

wrthaw, *Cyvot: cymer ymaith dy ‡ glwth a'
rhodia. Ac yn ebrwydd y gwnaed y dyn yn iach,
ac ef gymerth-ymaith ei'lwth, ac a rodiawdd:
a'r Sabbath oedd ar y *diernot hwnw. Dywedy
am hyny o'r Iudaion wrth hwn a wnaethesit yn
iach, Dydd Sabbath yw hi: nyd yw gyfreithlawn
y-ti ‡gymryd-ymaith dy'lwth. Attepawdd ydd-
wynt, Hwn a'm gwnaeth i yn iach, ys ef a dywe
wrthyf, Cymer dy *'lwth a' rhodia. Yno y gofyn-
nesont iddaw, Pa ddyn yw hwnw a ddyvot wr-
thyt, Cymer-ymaith dy'lwth, a' rhodia? A'hwn
a iachaesit, ny wyddiat pwy'n oedd ef: canys yr
Iesu a dynnesi ymaith y wrth y dyrfa'oedd yn y
van hono. Gwedy hyny y cafas yr Iesu ef yn y
Templ, ac addyuot wrthaw, Wely ‡ith wnaeth-
pwyt yn iach: na phecha mwyach, rac dyvot y
beth a vo gwaeth.

*dydd hwn
‡odwyn dy wely
*wely
‡wiangesei, gilieset
*voth,

Y dyn aeth ymaith, ac a venegawdd i'r Iudde-
eon, *may'r Iesu oedd hwn a ei gwnaethesei
yn iach. Ac am hyny ydd ‡erlidiynt yr Iuddeon
yr Iesu, ac y caisynt y ladd ef, can y-ddaw wneu-
thyd y pethae hyn ar y dydd Sabbath. A'r Iesu y
atepawdd wy, Vy-Tat ys y yn gweithiaw yd hyn,
a' minef sy y yn gweithiaw. Am hyny y caisei'r
Iudaeon yn vwy y lad ef: nyd yn unic can ydd-
dori'r Sabbath: eithyr dywedyt hefyt mai Duw
oedd ei Dat, a'i wneuthu'r y hun yn *gydstat a
Duw. Yno ydd atepawdd yr Iesu, ac y dyuot wrth-
wynt, Yn wir y dywedaf y chwi, Nyd aill y Map
‡wneuthu'r dim o hanaw ehun, anyd hyn a wyl
ef y Tat yn y wneuthu'r: canys pa bethae bynac

*law
‡erlynat
*gystal, 'ogyfuwch, gymetrol
‡weithredu

a *wna

a *wna ef, y pethae hyny a wna'r Map hefyt. Can ys y Tat a gar y Map, ac a ddengys y-ddo pop peth oll, a'r wna a yntef, ac ef a dengys y-ddaw weithredoedd mwy na 'r-ein, val y bo y chwi ryveddu. Can ys mal y cyvyt y Tat y meirw, ac ei ‡ bywha, velly y bywha y Map yr ei a * ewyllysa ef. Can ys ny varn y Tat nebun, eithyr yr oll varn a roddes ef ‡ ir Map. * Yny bo i bawp anrydeddy y Map, mal yr anrydeddant y Tat: hwn nid yw yn anrydeddu'r Map, nid yw hwnw yn anrydeddu 'r Tat, yr hwn yd anvonawdd ef.

Yn wir, yn wir y dywedaf y chwi, yr hwn a clyw vy-gair, ac a gred * yn hwn a'm danvonawdd, y mae yddaw * bywyt tragyvythawl, ac ny ddaw i varn, eithyr ef ‡ aeth ffwrdd o ywrth * angae i'r bywyt. Yn wir, yn wir y dywedaf y chwi, y daw yr ‡ amser, ac yrowan yw, pan glyw'r meirw lef Map Duw: a'r sawl a ei clywant, a vyddant byw. Can ys megis y mae *ir Tat vywyt ynddo y hun, velly hefyt y rhoddes ef i'r Map vot iddo vywyt yn ddo ‡ y hun. Ac a roes y-ddaw * veddiant ‡ do y' coi varn, can y vot ef yn vap dyn. Na ryveddwch hyn: can ys-daw yr awr yn yr hon y bydd ir sawl oll ynt yn y * beddae, glywet y ‡ leferydd ef. A'c e ddaw allan, yr ei a wnaethant dda, i gyfodiadigaeth bywyt: a'r ei a wnaethant ddrwc i gyfodiadigeth barn. Ny alla vi wneuthur dim o hanof vy hunan: mal y clywaf, y barnaf: am barn i 'sy gyfion, can na cheisiaf vy 'wyllys vy hun, eithyr ewyllys y Tat yr hwn a'm danvonawdd i. A's testolaethwn am dana vy hun, nyd oedd vy-testiolaeth

*wnel, weithreda
‡bywia, bywoca
*bynno
‡at y, ar y
*Er mwyn bot
*ir
*buchedd
‡addiangawdd
*varwoleth
‡awr
*y gan y
‡yntau
*awdurtot
‡ac hefyt
*monwēnt
‡lais

eth i * gywir. Chwichvvi a ddanvonesoch at Joan,
ac y ef a destolaethawdd ‡ir gwirionedd. A'
chymeraf destoliaeth y gan ddyn : eithyr y pe-
thae a ddywedaf, val yr * iachaijr chwi. Ef oedd
‡ ganwyl yn Lloscy, ac yn * tywynu : a' chwi
a ‡ vynesech dros amser ymlawenychu yn y le-
ych ef. Eithyr y mae i mi testoliaeth mwy na de-
stolaeth Joan : can ys y gweithredoedd a roes y
Tat i mi y'w * gorphen, 'sef y gweithredoedd hy-
ny, a'r ydd wy vi yn ei gwneythur, a testolaethy-
ant ‡ dana vi, may'r Tat am danvonawdd. A'r
Tat yntef, yr hwn am danvonawdd, a desto-
tha am danaf. Ny chlywsoch y ‡ leferydd ef
ser, ac ny welsoch ei * wedd. A' y 'air ef
‡ ychwi yn aros ynoch : can ys yr vn a ddanvon-
ef, hwnw ny chredwch. Chwiliwch yr Scry-
thurae : can ys ynthwynt hvvy y tybiwch
ffwch vywyt tragyvythawl a' hwy ynt yr ei a
olaethant am dana vi. Ac ny ddewchwi ata vi,
gaffel o hanoch vywyt. Ny dderbyniaf * bary
gan ddynion. Eithr mi ach adwaen, nad oes
ychgariat Duw ynoch. Myvi a daethym yn
vy-Tat, ac ni'm derbyniwch vi : a's arall a
yn y enw hun, hwnw a dderbyniwch. Pa vod y
lw-chwi gredu, a' chwi yn derbyn ‡ anrydedd
y gan y gylydd, eb ychvvy gaisiaw 'r anrydedd
*sydd o Dduw yn vnic? Na thybiwch y cyhu-
vi chwi wrth vy-Tad : y mae vn a'ch cyhudda chwi,
'sef Moysen, yn yr hwn yr ymdiriedwch chwi. Can
pe's credyssech ‡ Moysē, chvvi am credyssech vi:
can ys o hano vi ydd escrivenawdd ef. Ac a
chy-

*gymesur
‡Y mae aral
*gyd ar
*catwer
‡iucn
*llewychu
‡ewyllyse-
swch
*cwplau
‡o hanof
‡lais
*rith, lun
'osgeth
‡genych
*o hanaf
*'ogoniant
‡gogoniāt,
moliant
*hanyw,
addaw
‡Moysen
*am danaf

chredwch ei yscrifennae ef, py'wedd y credwch vy-gairiae i?

## Pen. vj.

Yr Iesu yn porthy pemp mil o wyr a phemp torth a' dau byscodyn. Ef yr myned ymaith, rac yddyn y wneythur ef yn vrenhin. Ef yn argyoeddu cnawdawl wrandwyr y 'air ef. Bod yr ei cnawdol yn ymrwystro wrthaw. Pyd yw y cnawd yn profitio dim,

GWedy y pethæ hyny ydd aeth yr Iesu tros vor Galilaia, neu Tiberias. A'thorf vawr y cynlynawdd ef, o bleit yddwynt welet y *arwyddion ef, ‡ a'r a wnaethoedd ar y cleifion. Ac ef aeth yr Iesu ir *mynyth, ac yno yr eisteddawdd cyd a'ei ddscipulon. Ac ydd oedd hi yn agos ir Pasc, gwyl yr Iudeon. A'r Iesu a gyuodes i vynydd ei lygait, a'phan weles dyrfa vawr yn dyuot attaw, ef a dybot wrth Philip, O b'le y prynwn vara, val y caffo yr ei hynn beth yw bwyta? (a hynn a ddywedawdd, yw brobi ef: can ys efe a wyddiat peth a wnelei) Philip a atepawdd iddaw, Nid oedd ddigon gwerth * daucant ceiniawc o vara yddwynt, y gahel o pop vn o hanwynt ychydic. Yna y dybot wrthaw vn o'ei ddiscipulon, ys ef Andras, brawt Simon Petr, Mae yma vachcenyn, a' phemp torth haidd ganthaw, a' dau pyscodyn: eithyr beth yw hynny ymplith ‡ cynniver? A'r

*Yr Euangel y .iiij. Sul yn y Grawys*

*gwyrthiae

‡yr ei, hyn

*mynydd

‡sef yngylch pemp punt o'n bath ni

*cymeint

Iesu a ddyvot, Gwnewch ir dynion hyn eistedd (Ac ydd oedd yno wellt-glas lawer) yno yr eisteddawdd y gwyr yn-cylch pemp mil o rifedi. A'r Iesu a gymerth y bara, ac a ddiolches, ac ei rhanawdd ir discipulon, a'r discipulō ir * ei oeddynt yn eistedd: a'r vn modd or pyscot cymmaint ac a vynnesont. A gwedy yddwynt gahel ‡ digon, ef a ddyuot wrth ei ddiscipulō, Cesclwch y briwvwyt a weddilodd, rac colli dim. Yno y casclasont, ac a lanwesant ddauddec bascedait or briwvwyt, or peimptorth haidd, a weddill can yr ei a vesynt yn bwyta. Yno pan *welawdd y dynion wneythyd or Iesu ‡ yr arwydd hyn, y dywedesant, Diau mae hwn yw'r Prophwyt a ddauei ir byt,

Velly pan wybu Iesu vot yn y bryd hwy dyuot, a'i * gymryd ef yw wneuthur yn Vrenhin, a ‡ dynnawdd heibio drachefyn ir mynydd tho y hunan.

Gwedy daruot yddei hwyrhay, y ddiscipulon a ddescenesont i'r mor, ac a * aethant i'r llong, a mynedd tros y mor tu a Chapernaum: ac ‡ weithian ydd oedd hi yn dywyllvvch, ac ny ddaethoedd yr Iesu atwynt. A chodi o'r mor y gan wynt mawr yn chwythu. A gwedy yddynt rwyfo yn-cylch pemp * stad ar vcain, neu ddec stad ar ygain, wy welent yr Iesu yn ‡ gorymddaith ar y mor, ac yn dynesau at y llong: ac ofny a wnaethant. Ac ef a ddyuot wrthynt, Mivi * yw: nac ofnwch. Yno yn ewyllysgar yd erbyniesont ef ir llong, a'r llong oedd yn y van wrth y * tir ir lle ydd elent.

Tranoyth y popul yr ei a safai y tu arall ir mor,

* gwresteion
‡ ei gwala
* wybu
‡ y miracl, y gwyrth
* gymmell, ddirio
‡ aeth ymaith
* ddringesōt
‡ yn awr, yr awrhon
* sef wythfec ran milltir
‡ rhodio
* 'sydd
* wlat

welawdd nad oedd llong arall yno, anyd yr vn, yr
aethei ey discipulon yddhi, ac nad aethesei yr Iesu
y gyd ei ddiscipulon i'r llong, eithyr myned ymaith
oei ddiscipulon ef vvrthyn yhunain, a' dyuot llon=
gae eraill o Tiberias yn gyfagos tervan lle y bwyt=
tesent y bara, gwedy ir Arglwydd ddiolwch. A'nd
pan welawdd y* popul nad oedd yr Iesu yno, na
ei ddiscipulon, a' hwythe a gymersont longae, ac
a ddaethont i Capernaum, ‡ gan geisiaw yr Ie-
su. A' gwedy yddwynt y gahel ef y tu arall ir mor,
wy ddywedesont wrthaw, Rabbi, pa bryd yd ae=
thost yman? yr Iesu a atepawdd ydd-wynt, ac a
dyuot, Yn wir, yn wir y dywedaf y chwi, Nyd
ych i'm caisiaw, o bleit ywch welet y ‡ gwyrthiae,
anyd o bleit ywch bwyta o'r torthae, ach' llenwi.
Na* thravelliwch am y bwyt a ‡ gollir, eithyr am
y bwyt a barha i bywyt tragywythawl, yr hwn a
ryd Map y dyn y chwi: can ys ‡ hwn a inseliawdd
Duw'r Tat. Yno y dywedesont wrthaw, Pa beth
a wnawn val y gallom *weithiaw gwaithredoedd
Duw? yr Iesu a atepawdd ac a ddyuot wrthynt,
‡ Hyn yw gwaith ef Duw, credu o hanoch yn yr
hwn, a ddanvonawdd ef. Dywedesont gan hyny
wrthaw, Pa'r arwydd gan hyny a wnei di, val
y gwelom, ac y'th' credom? pa beth wyt' yn ei
weithredu? Ein ni a vwytesont y Manna yn y di=
ffeithwch, megis y mae yn scrivenedic, Bara o'r
nef a roes ef ydd wynt yw bwyta. Yno y dywawt
yr Iesu wrthwynt, Yn wir, yn wir y dywedaf
ywchwy, Nyd Moysen a roes y-chwi y bara
hwnw o'r nef; eithyr *y Tat meu vi ysy yn

*werin
‡ i
‡ arwyddion
*weithiwch, lafuriwch
‡ dderbydd, gyll
‡ ef
*weithredu
‡ Hon, Llyma
*dynhad

choddi y-chwy y gwir bara o'r nef. Can ys bara
Duw y dyw'r hwn 'sy yn descend o'r nef, ac yn
rhoddy bywyt i'r byt. Yno y dywedesont wrthaw,
Arglwydd, byth dyro i ni y bara hwn. Dywe-
dawdd yr Iesu wrthynt, Mivi yw'r bara'r bywyt:
yr vn a ddel ata vi, ny's newyna ddim, a'r vn a
gred yno vi, ny sycheda byth. Eithyr mi ddywe-
dais ychwy, can ac ychwy vy-gweled, ac ny chre-
desoch. *Oll a'r y mae'r Tat yn y roi y my, a ddaw
ataf: a' hwn 'sy yn dyuot ataf, ny's bwriaf ‡ al-
an. Can ys descenais o'r nef, nyd i wneythu'r vy
'wyllys * i, eithyr ewyllys yr vn am danvonodd i.
A' hyn yw 'wyllys y Tat yr hwn a'm danvonawdd
i, na bo o'r oll a roddes ef i mi, golli o hanof ddim,
eithyr ei ‡ gyvodi drachefyn yn y dydd dywethaf.
A' hyn yw 'wyllys yr hwn a'm danvonawdd i, bod
y bawp dyn a'r a wyl y Map, ac a gred yndaw,
gahel bywyt tragywythawl: a' mi y cyfodaf ef y
vynydd yn y dydd dywethaf. Yno y * murmura-
sont yr Iudaeon wrthaw, o bleit dywedyt o ho-
naw, Mivi yw'r bara, a ddescendas o'r nef. A' dy-
wedyt a wnaethant, Anyd hwn yw Iesu map
Ioseph, yr hwn a adwaenom ni y dat a y vam? po
vodd gan hyny a dywait ef, *mai O'r nef y descen-
dais? Yno atep o'r Iesu a' dywedyt wrthynt, Na
vurmurwch ‡ yn eich plith. Ny aill nep ddyvot a-
ta vi, o ddyeithr ir Tat, yr hwn am danvonawdd
i, y dynnu ef: ac mi y cyfodaf ef y vyny yn y dydd
dywethaf. Y mae yn escrivenedic yn y Prophwy-
ti, Ac wy a * vyddant oll dyscedic y gan Dduw.
Pawp dyn gan hyny a'r a glybu, y gan y Tat, ac
a ddys-

*Pop peth ‡ymaith
*vy hun
‡gwnny, gychwyn
*grwgnachodd ‡descenawdd
*taw
‡ yd ai gylydd, rhyngoch eich hunain
*ddyscir oll

a ddyscawdd, a ddaw at y-vi. Nyd erwydd gweled o nep y Tat, any d yr vn y'sydd o Dduw, ‡ ys ef a welawdd y Tat. Yn wir, yn wir y dywedaf y chwi, yr vn a gred yno vi, * mae yddaw buchedd dragywythawl. Mi vi yw'r bara'r buchedd. Eich tadae chwi a vwytesont y Manna yn y diffeithwch, a' marw ‡ a wnaethont. Hwn yw'r bara sy yn descē d o'r nef, yd pan yw i'r neb a vwytao o hanaw, na bo marw. Ys mi yw'r bara bywiol, yr hwn a descendais o'r nef: a's bwyty nebun o'r bara hwn e vydd byw byth: a'r bara a roddwy vi, vy-cnawd yw, yr hwn a roddwy vi tros * vywyt y byt. Yno ymrysonent yr Iuddeon a ei gylydd, gan ddywedyt, Pa vodd y gaill hwn roddi i ni y gnawd yw bwyta? yno y dywawt yr Iesu wrth-wynt, Yn wir, yn wir y dywedaf y-chwi, *A ny bwytewch gnawt y Map y dyn, ac yfet ei waet, ‡ nyd oes ychwy vywyt ynoch. Pwy pynac a vwytao vy-cnawd i, ac a yfo vy-gwaet, y mae iddaw * vywyt tragywythawl, a' mi y cyfoda ef y vyny yn y dydd dywedddaf. Can ys vy-cnawd i y sydd wir bwyt, a'm gwaed i'sy wir ddiawt. Hwn a vwyty vy-cnawd, ac a yf vy-gwaed, a dric yno vi, a mi yndo ef. Mal yd anvonawdd vi y byw Dat, velly y byw vi * trwy y Tat, a' hwn a'm bwyty i, byw vydd yntef trwy vi. Hwn yw'r bara a ddescendodd o'r nef: nyd val y bwytaodd ych tadae chwi y manna, a' marw o hanynt. Yr vn a vwyty o'r bara hwn, a vydd byw byth. Y pethe hyn a ddywot ef yn y Synagog, gan y dyscu hwy yn-Capernaum. Llawer gan hyny o ei ddiscipulon (wrth *glybot hyn) a ddywedent,

‡hwn-yma

*e gaiff vywyt

‡buon veirw

*buchedd, hoydel

*Oddieithr y chwi vwyta

‡nad

*buchedd

‡y gan, erwydd, o bleit

*glywet

Calet

Calet yw'r ‡ymadrodd hyn: pwy a aill ei glybot? Eithyr yr Iesu yn gwybot yndo,* ef bot ei ddiscipulon yn murmuro wrth hyn, a dybot wrthynt, A ydyw hyn ych ‡ rhwystro chwi? Beth pe's gwelech Map y dyn yn escend i'r lle'r oedd ef* gynt? Y yspryt yw'r peth a ‡ bywha: ny * lesa'r cnawd ddim: y geiriae ydd wy vi yn ei ymadrodd wrthych, yspryt a' bywyt ynt. Eithyr y mae'rei o hanoch *ny chredant: can ys-gwyddiat yr Iesu o'r dechreuat, pa'rei oeddent a'r ny chredent, a' pha-vn y bradychei ef. Ac ef a ddybawt, Am hyny y dywedais wrthych, na aill nep ddybot ata vi, any rhodir ydd-aw y gan *vy-Tat. O'r pryd hyny allan yr ‡ymadawodd llawer o ei ddiscipulon, ac ny rodiesont mwy y gyd ac ef. Yno y dyuot yr Iesu wrth y dauddec, A i wyllyscw-chwithev hefyt vyned ymaith? Yno ydd atepawdd Simon Petr yddaw, Arglwydd, at pwy'r awn? y mae genyt'airiae bucchedd tragywythawl: ac ydd ym ni yn credu ac yn gwybot may ti yw'r Christ y Map Duw byw. Yr Iesu ei hatepawdd, Anyd * mi ach detholais chwi ddauddec, ac o hanoch y mae vn yn ddiabol? Ac ef ddywedei hyny am Iudas Iscariot 'ap Simon: can ys hwn oedd ai vrydar y bradychu ef, ‡ac ef yn vn o'r deuddec.

‡gair, peth, defnydd
*ehun
‡clwympo, trangwydo
*or blaen
‡bywocka
*buddola, proffitia
‡pethae
*nyd ynt yn credu
*vynhad
‡aethont
*dewisais
‡cyd boed, er i vot

## Pen. vij.

Yr Iesu yn argyweddu ymgymeriat ei gerent. Amryw ymadrodd a barnedigaeth am Christ ymplith y werin. Ef yn dangos pa ddelw yr adwaenir y gwirionedd. Y camwedd ...

ac ef

ac ef. Y Pharisaieit yn ceryddu y swyddogion can na ddalient wy ef. Ac yn rhoi senn i Nicademus am ddadleu y gyd ac ef.

AR ol y pethe hyny * gorymdaith a oruc yr Jesu yn-Galilaia, ac nyd wyllysawdd ef ‡'orymddaith yn Judaia: can ir Juddaeon gaisiaw y y ladd ef. A' gwyl yr Juddaion, sef gvvyl y Pepyll oedd yn agos. Dywedynt gan hyny ei vroder wrthaw, Dos ymaith o yma, a' cherdda i Judaia, val ac y gwelo dy ddiscipulon dy weithredoedd yr ei a wnei. Can nad oes 'nep a wna ddim yn y ddirgel ac yntef yn caisiaw bot yn ‡gyhoeddedic. A's y pethe hyn a wnai, *eglura dyhun i'r byt. Can ny's credent ei vroder yndo hyd hyn. Yno dywedyt or Jesu wrthynt, Ny ddaeth vy ‡amser i eto: eich amser chwi 'sydd ‡yn wastat yn parat. Ny all y byt ych casau chwi: ac e am casau i, can i mi destiolaethu *a'm danaw, bot ey weithredoedd e yn ddrwc, ‡Escennwch-chwi ir wyl hon: nyd escenda vi eto ir wyl hon: can na chyflawnwyt vy amser i eto. Y pethe hyn a ddywawt ef wrthynt, ac a arosawdd yn-Galilaia. A' chygynted yr escendent y broder ef, yno yr escenawdd yntef ir *wyl, nyd yn oleu, a nyd vegis yn ddirgel. Yno y ceisiai'r Juddeon ef yn yr wyl, ac y dywedent, P'le mae ef? A' murmur mawr oedd ‡am danaw ym-plith y * populoedd. Rei a ddywedent, Y mae ef yn wr da: yr eill a ddawedynt, Nyd yvv ef: eithr y mae e yn twyllo yr bopl. Er hyny ny ‡lafarawdd

*rhodio
‡rodio, drwy
*vndyn
‡glaer, honneit, amlwc, enwoc
*amlyga ymddangos,
‡cyfnot, prys
‡bop pryd, byth
†o hanaw
‡Chwychwi hyny
*ffest
‡o ei blaic
*werin
‡sonlodd, ynganodd

rawdd nep yn *eglur am danaw, rac ofn yr Iu-
ddaeon. Ac yn awr ‡wedy darvot haner yr wyl,
yr escennawdd yr Iesu ir Templ, ac y dyscawdd
hvvy. A'r Iuddeon a ryveddesont, gan dywedyt,
*Podd y ‡gwyr hwn yr *Scythurae ac yntef crioed
eb ddyscu? Yr Iesu a atepawdd yddynt, ac a ddy-
vawt, Y dysc meu nyd yw veu, eithyr yddaw ef y
hwn am danvonawdd i. A's wyllysa nep wneu-
thur y'wyllys ef, ef a wybydd am y ddysceideth,
ay o Dduw y mae hi, ai mivi sy yn llavaru o hano
vy hun. Hwn a lefair o hano y hun, a ymgais y
'ogoniant y hun: eithyr hwn a ymgais 'ogoniant
yr vn ai danvonawdd ef, hwnw 'sy gywir, a' dim
*ancyfiawnder ynto nyd oes. A ny roes Moysen y
chwi Ddeddyf, ac eto nyd oes nep o hanoch yn ca-
dw'r Ddeddyf? Paam ‡y ceisiwch vy lladd? Y
popul a atepawdd, ac a ddyvawt, y mae cythrael
*genyt: pwy 'sy yn caisio dy ladd? Yr Iesu a ate-
pawdd ac a ddyuot wrthynt, Vn gweithred a wna-
ethym, ac ydd ych oll yn ryveddu. ‡Am hyny
Moysen a roes y-chwy Enwaediat, (nyd *can
vot o Moysen, eithr am y vot o'r Tadae) a' chwi ar y
dydd Sabbath a enwaedwch ar ddyn. A's derbyn
dyn ar y Sabbath enwaediat, rac bod torri ‡Deddyf
Moysen, a *ddigiwch wi wrthyf vi, can y-mi wneu-
thur dyn yn ‡holl-iach ar y dydd Sabbath? Na
vernwch *erwydd y golwc, eithyr bernwch barn
gyfiawn. Yno y dywawt r'ei ‡o hanynt wy o Caerusalem,
salem, A nyd hwn yw'r vn, a gaisant wy ei ladd?
*A nachaf yr ymadrodd ef yn ‡gyhoeddus ac
ny ddywedant ddim wrthaw: a wyr y *penaethi-
eit

*oleu, ddi-
ragrith
‡yn, am
*Pa ddelw
‡medr
*llythyrae,
ddysc, len
‡ymadrodd
*enwiredd
‡yr amcee-
nwch
*ynot
‡Er
*erwydd
‡Gyfraith
*sorwch
‡gwbl
*ar ol
‡or Caeru-
salemieit
*Ac wely
‡ar osteg
*penadurie-
eit

eit yn ‡ ddiau mae hwn yw'r gwir Christ? Eithyr ni adwaenam hwn o b'le * ymae ef: a' phan ddel y Christ, ny wybydd nep o b'le y mae ef. Yno y llefai yr Iesu yn y Templ ac ef yn ei dyscu, gan dywedyt, ys adwaenoch vi, ac adwaenoch o b'le ydd wyf: ‡ ac ny ddaethym o hano vy hun, eithr ys gwir yw'r vn am danvonawdd i, yr hwn nyd adwaenwch-chwi. A' mivi y hadwaen ef: can ys o hanaw ydd wyf, ac ef am danvonawdd i. Yno y caisiesont y ddalha ef, ac ny roy nep 'law arnaw, can na daethesai y awr ef * etwa. A' llawer o'r dyrfa a gredesont yndaw, ac a ddywedesont, Pan ddel y Christ, a wna ef bwy o ‡ wyrthieu nac a wnaeth hwn? Clywet o'r Pharisaieit bot y bopul yn* murmuro y pethe hyn am danaw, a' danvon o'r Pharisaieit a'r Archoffeirieit ‡ swyddogion y'w ddalha ef. Yno y dywawdd yr Iesu wrth-wynt, Eto *ychydic enhyd ydd wyf y gyd a chwi, ac yno ydd af at hwn a'm danvonawdd. Chwi a'm caisiwch, ac ny'm cefwch: a' lle ydd-ywvi, ny ellwchwi ddyvot. Yno y dywedent yr Iuddaeon yn y plith y hunain, I b'le bydd i hwn vyned, val na chaffom ef? Ai myned a wna ef at yr ei'sy ar wascar ymplith y ‡Groecieit, a dyscu'r Groeciait? Pa ymadrodd yw hwn a ddyvawt ef, Chwi a'm caisiwch, ac ny'm cefwch? ac lle'r * yw-vi, ny ellwchwi ddyvot? Yno yn y dydd mawr dywethaf o'r wyl, y safawdd yr Iesu ac y llefawdd, gan ddywedyt, A's sycheda nep, dauet ata vi, ac yfet. Yr hwn a gred yno vi megis y dywait yr Scrythur, allan oi vru ef y llifa *avonydd o ddwfr byw (Hyn

a ddy-

‡ddilys
*yr hanyw
‡eto
*eto
‡arwydion
*manson
‡cywdawt, gweinidogion
*hetys
‡Groegwyr, Cenedloedd
*wy, vi, bwyf
‡dythwn, dilwarnot
*y maes of bola
‡llifeiriaint, aberoedd, naint

a ddyvawt ef a'm yr yspryt yr hwn a ddervyn-
yr ei a gredent *yndo ef: can ys yd hynn nyd oe-
donix yr yspryt glan vvedy ei rhoddi o bleit na da-
edd eto gogonedu yr Iesu) Llawer oedd can hyn
o'r popul, pan glywsant yr ymadrodd hwn, a ddy-
wedesont, yn wir hwn yw'r Prophwyt. Ereill
ddywedesont, Hwn yw'r Christ: a'r ei a ddywe-
dent, ‡Ac a ddaw'r Christ o'r Galilaia? A-
ddywait yr Scrythur 'lan may o had Dauid, ac
dref Beth-lechem, lle ydd oedd Dauid y da-
Christ? Ac ydd oedd ymryson ym-plith y popul
bleit ef. A'r ei o hanaddynt a vynesent y ddal
eithyr na roddei nebun ddwylaw arnaw. y
daeth swyddogion at yr Archoffeirieit ac Pha-
saieit, ac y dywedesont wrthwynt, Paam na d-
gesoch ef? Atep o'r swyddogion, Nyd *ynd-
nawdd gwr erioed val y gwr hwn. yno yd-
pawdd y Pharisaieit, A dwyllwyt chwithen he-
A gredavvdd ‡neb or *pennaethieit nei o'r Pha-
saieit yndo ef? Eithyr y ‡werin hyn, a'r nyd [illegible]
y Ddedyf, ynt bellticedic. Dywedyt o Nicodem-
wrthynt, (yr hwn a ddaethei at yr Iesu o hyd-
ac oedd vn o hanynt.) A varn ein *Deddyf [illegible]
bun nes nag yddi yn gyntaf ei glywet, a' gwyb-
pa beth a wnaeth ef? Wytheu a atepesont ac a ddy-
wedesont, wrthaw Yw-tithe hefyd o'r Galilaia?
Chwilia a' gwyl: can ys o'r Galilaia ny chyfyt
Prophwyt. A' phawp aeth yw duy yhunan.

*sef yn yr Iesu

‡Can ny

*ddyvot dyn

‡yr vo, vn-dyn

*penadurieit

‡bopul

*Cyfraith

Pen. viij.

Chiss yn gwaredu hon a ddaliesit yn tori priodas. Ef e yw goleuni 'r byt. Ef yn dangos o b'le y daeth ; baam, ac i b'le ydd a. Pa rei 'sy gaithion, a' pha 'r ei 'sy ryddion. Am yr ei breiniol ar ei gwasaidd, a' ei gwobr hwy. Ef yn gosyn gwaethaf ei 'elynion. Ac wrth bot ei erlid, yn encilliaw ymaith.

A'R Jesu aeth ir mynyth * yr oliwydd, ‡ a'r borae dyđ e ddaeth drachefyn ir Tẽpl, a'r oll popl a đaeth ataw, ac ef a eisteddawdd y lawr, ac y dyscawdd hwy. Yno y duc y Gwyr-llen a'r Phariseieit wreic ataw, hon a ddaliesit * yn tori priodas, ac y ‡ dodesont hi yn y cenol, ac a dywesont wrthaw, Athro, y wreic hon a ddaliwyt yn tori priodas, ys ar y weithred. A' Moysen yn y Ddeddyf a' orchymynnawdd i ni, bot llapyddiaw y cyfryw 'rei: a' pha beth * a ddywedy di? A' hyn a ddywedent y'w ‡ demto ef, val y * cahent devnydd, y gyhudaw ef, A'r Jesu a * grymođ i lawr, ac ai bys a scribenawđ ar y ddaiar. A' thra oeddent yn parau ymofyn ac ef, yr ymdderchawđ ef, ac y dywawt wrthynt, Yr vn o hanoch ys id yn ddipechot, tavled y maen cyntaf atei. A' thrachefyn y crymawđ ef, ac ydd escrybenawdd ar y đaiar. A' phan glywsant hyny, can ei cydwybot yhunain yn ei cyhađaw, yr aethant allan bop vn ac vn, gan ddechrae o'r ei hynaf yd yr ei diwethaf: a'r Jesu a ađawyt ‡ yn vnic, a'r wreic yn sefyll yn y cenol. Gwedy i'r Jesu * ymdderchafel, ac eb iddo weled nep, namyn

T.j. y wreic,

* olivar
‡ ar glais y dydd, ac ar y cynddydd
* mewn godinep
‡ gosodesont
* meddi
‡ brofi
* gallent
‡ ymosfyn-godd
‡ wrtho y hun
* ymgodi drachefyn

y wreic, ef a dywawt wrthei. Ha-wreic, p'le mae
dy gyhuddwyr? a varnawdd nep di yn euawc? Hi
a ddywawt, Na ddo nep, Arglwydd. A'r Iesu a
ddywawt, Ac nyth barna vine di yn euawc: *cerdda
ac na phecha mwyach.

Yno drachefn y dywawd yr Iesu wrthynt, can
ddywedyt, Mivi yw * goleuni y byt: yr vn a'm
dilyno vi, ny rodia yn y tywyllwch, eithyr e ga
'oleuni y ‡ bywyt. Yno y dywedent y Pharisaiei
wrthaw, Ti a destoliaethy o hanat ty vn: nyd
* gwir yw dy destoliaeth di. Yr Iesu a atepawdd
ac a ddywawt wrthynt, ‡ Cy testolaethwyf o ha-
no vyhun, y mae vy-testoliaeth i yn gywir: can
ys-gwn o b'le y daethym, ac y b'le ydd af: a'chwi
ny wyddoch o b'le y daethym' nac y b'le ydd af.
Chwichchvvi a vernwch * erwydd y cnawd: mi
ny varnaf nebun. Ac ‡ a's mi a varn, y varn vy-
vi ysy gywir: can nad wyf yn vnic, eithyr mi a'r
Tat, yr vn a'm danvonawdd. A' hefyt e scriven-
yn * y Ddeddyf yddoch, bot testolaeth dau ddyn
yn gywir. Mi yw 'r vn a destolaethaf am dan-
vy vn, a'r Tat a'm danvonawdd i, a destiolaetha
a'm danaf i. Yno y dywedesont wrthaw, P'le y
mae dy Dat? Atepawdd yr Iesu, Ac ny'm adwa-
enoch vi, na'm Tat. Pe's adwenesech vi, ys adwe-
waenesoch vy-Tat hefyt. Y geiriae hyn a ‡ lava-
rawdd yr Iesu yn y tresor * va, ac ef yn dyscu yn
y Templ, ac ‡ nyd ymavlodd neb yndo: can na
ddaethei eto y awr ef. Yno y dywawd yr Iesu
drachefyn wrthynt, Mivi af ymaith, a'chvvi a'm
caisiwch, ac a vyddwch veirw yn eich pechodae.

Lle

*dos
*llewer llewych, go-leuat
‡ buchedd
*'awn, cym-mesur
*ar ol
‡ or
*eich Cy-fraith
‡ adrodddodd dadywot
*duy
‡ ny roes nep law arno

Lle ydd wi, ny ellw-chwi ddyvot. Yno y dywedent yr Iuddaion, A * ladd ef y hun: can iddo ddywedyt, Lle ydd a vi, ny ellw-chwi ddyvot? Yno y dywawt ef wrthynt. Chwichvvi 'sy o ddisod: mivi 'sy o ddvchod: chwichvvi 'sy o'r byt hwn: mivi nyd yw o'r byt hwn. Am hynny y dywedais wrthych, y byddwch veirw yn eich pechotae: can ys a ddieithyr ywch gredu, mai mivi yw ef, chvvi byddwch veirw yn eich pechotae. Yno y dywedesont vvy wrthaw, Pwy yw ti? A'r Iesu a ddywawt wrthynt, Ef ‡ y peth a ddywedeis wrthych o'r dechreuat. Y mae genyf lawer o bethe y'w dywedyt, ac y'vv varnu * am danoch: eithyr yr vn a'm danvonawdd i, 'sy gywir, a'r pethae a glywais gantha w, yr ei hyn a adroddaf i'r byt. Ny ‡ ddyellesont vvy mai am y Tat y * llavarei ef wrthynt. Yno y dywawd yr Iesu wrthynt, Gwedy y derchavoch ‡ Map y dyn, yno y gwybyddwch mai mivi yw ef, ac nad wyf yn gwneuthur dim o hano vy hun, eithyr mal im dyscawdd y Tat, velly ydd wyf yn * llavaru y pethe hyn. Can ys yr vn am danvonawdd i, ysy 'gyd a mi: ny adawdd y Tat vi yn vnic, can ys i mi wneuthur ‡ bop amser y pethae sy * dda gantho ef. Ac ef yn ‡ llavaru y pethae hyn, llawer oedd a gredesont yntaw. Yno y dywawt yr Iesu wrth yr Iuddaeon yr ei a credesont * yntha w. A's chwi a arhoswch yn y gair meu vi, yn wir discipulon i mi * ywch, ac a wybyddwch y gwirionedd, a'r gwirionedd ach ‡ ryddha. Atepesont y ddaw, Had Abraham ydym ni, ac ny ‡ wasanaethesam ni neb erioed: paam y dywedy di, Eich gwneir

*ddiwetha, ddiwa
‡yr hyn
*o hanoch
‡wybuont
*dywedei
‡y Map dyn
*adrodd, dywedyt
‡yn wastodol
*bodlawn, ryng bodd
‡adrodd, dywedyt
*Gr. iddo
*byddwch
‡diainc
*Hil
‡buam ni gaethion i neb

chvvi yn vvyr rhyddion? Atepawdd yr Iesu
Yn wir, yn wir y dywedaf y-chwi, Mai
nac a wna bechot, ys y was i'r pechat. A'r
*erys
nyd * aros yn y tuy yn dragywyth: and y
aros yn tragywyth. A's y Map gã hyny ach
ha chwi, rhyddion yn ddilys byddwch.
mai had Abraham ydych, eithyr yd ych yn
‡chynwysir
wy lladd i, can nad ‡ oes lle ir gair meuvi
*adroddaf
Mivi a * lafaraf yr hyn a welais y gyd a'm
chwitheu a wnewch yr hyn a welsoch y gyd a'
chwi. Atepesont a' dywedesont wrthaw,
ni yw Abrahaim. Yr Iesu a ddywawt wrthyn
plant i Abraham byddech, chvvi gwnaech
thredoedd Abraham. Ac ynawr y ceisiwch
i, gwr a ddywawt i chwi'r gwirionedd, yr
glywais y gan Dduw: hyn ny wnaeth
Chwi'sy yn gwneuthu'r gweithredoedd
‡fornic-
chwi. Yno y dywedesont wrthaw, Ny'
rwydd
‡'odnep: y ni y mae vn tat, sef Duw. Am hyn
dywawt yr Iesu wrthynt, Pe Duw bydde
Tat, yno y carech vi: can ys mi a * ddeilliais
*y can
ddeuthym o ‡ ywrth Dduw, ac ny's daethym o
no vyhun, eithyr ef a'm danvonawdd i.
nad ych yn dyally yr y madrodd hyn meuvi; sef
*gwranda
na ellwch aros * clywet y geiriae meuvi. Chwi
‡a hanyw
‡ ysydd o'ch tad y diavol, a' chwantae eich tad
*lawrnddiac
wnewch. Ef e vu ‡ ladddwr dyn or dechreu,
*gan
nyd arosawdd yn y gwirionedd: can nad oes
‡or eiddaw,
rionedd yndaw. Pa bryd bynac y dywait ef *
oi briod
llwydd ‡ o hanaw ehun y dyweit: can ys
*a thad y
ddoc yw, * a'r tad iddo. A' Chvvithe can i mi
celwydd
wedyt

dywedyt y gwirionedd ywch', ny'm credwch.
Pwy'n hanoch a *hona pechat arnaf? ac a's
gwnaf yn dywedyt y gwir, pa am na chredwch vi?
y nep sydd o Dduw, a wrendy 'airiae Duw: am
hynny ny wrandewch chwi, can nad yw-chwi o
Dduw. Yno yr atepawdd yr Iuddaeon ac y dywe-
dent wrtho, Pa nad da ‡y dywedwn mae Sa-
mareit wyt, a' bot cythraul genyt? yr Iesu a ate-
pawdd, Nid oes cythrael cenyf, eithyr ydd wyf
yn anrydeddy *vy-tad, a' chwi am dianrydedesoch
i. Ac nid wyf yn ceisiaw vy gogoniant vy hun: y
mae a ei cais ac a barn. Yn wir, yn wir y dywedaf
wrthych, a's caidw nep vy-gair i, ny wyl ef byth
angae. Yno y dyvod yr Inddeon wrthaw, Yr awr-
hon y gwyddam bot cythrael genyt. Abraham a
vu varw, a'r Prophwyti, a' thi a ddywedy. A
chaidw vn vy-gair i, ny ‡phrawf ef vyth angae.
A wyti vwy na'n tad Abrahā, yr hwn a vu varw?
a'r Prophwyti a vuant vairw: pwy ddwyt yn dy
wneythyr dy hunan? Yr Iesu a atepawdd, A's
mi a'm ‡gogoneddaf vy hun, vy-gogoniant nyd
yw ddim: vy-Tad yw'r hwnn am gogonedda vi,
yr hwn a ddywedwch chwi, bot yn Dduw ychwy. Ac
nyd adnabuoch chwi ef: a nid mi y adwaen ef,
ac a dywedwn nyd adwaenwn, mi vyddwn gel-
wyddoc val chwithae: eithyr mi y adwaen ef,
ac wyf yn cadw ei 'air. Abraham eich tad a vu
lawen-iawn gantho weled vy-dydd i, ac ef ei
gweles, ac a lawenechawdd. Yno y dyvot yr
Iuddaeon wrthaw. Nyd wyt eto ddec blwydd a
da'ugain oed, ac a weles ti Abraham? Yr Iesu a

*Yr Euangel y pempet Sul yn y Grawys.*

*yr

‡iawn, diwai

*vyn-had,

‡chwaytha, vlasa

*camnolaf

ddyvot wrthynt, yn wir, yn wir y dywedaf wrth-
ych, cyn bot Abraham, ydd yw vi. Yno y cym-
sont wy geric, y'w davly atav, a'r Jesu y ym-
guddiawdd, ac aeth allan o'r Templ.

## Pen. ix.

Am yr vn a anet yn ddall. Coffes y mabddall. Jesu y
ddailllion y byr y Christ yddynt welet.

AR Jesu yn myned heibio, ef a gan-
ddyn dall * o y 'enedigaeth. A
fyn iddaw o ei ddiscipulon, gan
wedyt, ‡ Athro, pwy'n a bech-
ai hwn ai * rieni, pan enit ef yn dall
Atep o'r Jesu, ac ny pechawdd hwn, na ei
ni, eithyr er bod ‡ dangos gweithredoedd
arno ef. * Raid i mi weithiaw gweith-
yr hwn a'm danvonawdd i, tra vo hi yn dydd
mae'r nos yn dyvot pryd na aill neb weith-
Tra vyddwyf yn y byt, goleuni wyf i'r byt. Gw-
ddywedodd ef val hyn, y poerodd ef ar y llawr,
gwnaeth ef ‡ bridd gyst o'r * poer, ac a irawdd y
gyst ar lygaid y dall, ac a ddyvot wrthaw, ‡ Cerdd
ymolch yn y llyn Siloam ('sef a ddeonglir yn
vonedic.) Ef aeth ymaith gan hyny, ac a ym-
chawdd ac a ddaeth drachefn * yn gweled. Yn
cymydogion a'r ei y gwelsent ef ‡ or blaen
bysei ef yn ddall, a ddywedesont, A nyd hwn
vn a eisteddei ac a gardotei? R'ei a ddywedent,
* Ys hwn yw ef: ereill y ddywedynt, y mae ef yn
gyffelyb

*vabdall, dall kinenid
‡Rabbi
*dad ei vā
‡amlygu, eglurhau
*Dir
‡glai, gyst,
*golos.
‡Dos
*gan
‡gynt
*Ll'yma

y gyffelyp iddaw. Yntef a ddyvawt, Mivi yw ef.
Can hyny y dywedent wrthaw, Py wedd ynte ydd
agorwyt dy lygait? Ef a atepawdd, ac a ddyvot,
* y dyn a elwir Iesu, a wnaeth ‡ giſtbriddd, ac a
iravodd vy llygait, ac a ddyvawt wrthyf. Cerdda y
lyn Siloam, ac ymolch. Ac y aethym ac a ymol-
chais, ac a * gefais vy-golwc. Yno y dywedesont
wrthaw, Ple mae ef? Ef a ddyuot, Ny wn i.

VVy dducsont at y Phariſaieit hwnvv y beſei
‡ gynt yn ddall. A'r dydd Sabbath ydoedd hi, pan
wnaethoeddoedd yr Iesu y * priddgist, ac ydd a go-
redd y lygait ef. Yno trachefyn yr ymofynnei 'r
Phariſaieit hefyt ac ef, pa vodd y ‡ cawſei ef ei
olwc. Ac ef a ddyvawt wrthynt. Ef a ddodes
priddgist ar vy llygaid, ac mi a ymolcheis, a' mi
gwelaf. Yno y dywedynt yr ei o'r Phariſaieit, Nid
hanyw'r dyn hwn ‡ o Dduw, can na chaidw ef y
dydd Sabbath. Ereill a ddywedynt, Pa vodd y
gall * dyn ac ef yn pechaturus, wneythu'r cyfryw
wyrthiae? Ac ydd oedd ‡ ancydvot * yn y plith
wy. Yno y dywedent wrth y dall drachefyn, Py
beth a ddywedy di am danaw ef, can iddaw agori
dy lygait? Ac ef a ddyvawt, Mai Prophwyt yw ef.
Yno ny chredawdd yr Iuddaeon am danaw (y
bot ef yn ddall, a 'chael ei 'olwc nes yddynt 'alw
am ‡ rieni yr vn a gawſei ei 'olwc. A' gofynesont
y dynt gan dywedyt, A-y hwn yw ych map chwi,
yr vn * a dywedwch-chwi ‡ ddaruot y eni yn ddall? Pa
vodd gan hyny y gwyl ef * yr awrhon? Atep oei
rieni ef yddynt, a' dywedyt, Ys gwyddam may hwn
yw ein map ni, a' ei eni yn ddall: and trwy pa

‡ debic
* Y gwr
‡ glai, bridd-gist
* adwelais
‡ unwaith
* clai
‡ cathoddei
* ddrem
‡ o bleid Duw
* pechatur o ddyn
‡ ymryſon, amrafael
* rhyngthynt
‡ dad ai vā
* meddwchwi
‡ sy vapdall
* yn awr

vodd y gwyl ef yr awrhon, ny's gwyddam: a
pwy 'n a agorawdd y lygait ef, ny's gwyddam:
y mae ef o oedran: gofynnwch yddaw: ef a ‡
drostaw ehun. Y geiriæ hyn a ddyvawt y rieni ef,
can yddynt vot yn ofni yr Iuddaion: o bleid e dd
roedd ir Iuddaeon ‡ddarparu eisioes a's coffe
nebun mai efe ytoedd y Christ, bot *y escommunod
allan o'r Synagog. Am hynny y dywedesei y rieni
ef, Y mae ef o oedran: gofynnwch yddaw. Yn
‡ eilwaith y galwesont ar y dyn a vesei yn ddall,
ac wy ddywedesont wrthaw, Dyro' ogoniant y
Dduw: cans gwyddam ni vot y dyn hwn yn pecha-
tur. Yno ydd atepawdd ef ac y dyvawt, A yw ef
yn pechatur anyd yvv, ny's gwn i: un peth a wn i,
vy-bot i yn ddall, ac yrowon * yn gwelet. Yno y
dywedesont wrthaw drachefyn, Pa beth a wna-
eth e y-ty? ‡ pa vodd ydd agoroedd ef dy lygait?
Ef atepawdd yddwynt, Dywedas y-chwy * eis-
us, ac ny chlywech: paam yr ewyllyswch ei gly-
wet drachefyn? a ewyllysw-chwi hefyt bot yn dis-
cipulon iddaw ef? Yno y rhoesont sen yddaw, ac
y dywedesont, Bydd di ddiscipul yddo: ydd ym ni
yn ddiscipulon i Moysen. Nini a wyddam ymddi-
ddain o Dduw a Moysen: a'r dyn hwn ny wydd-
am o b'le mae ef. Y dyn a atepawdd ac a ddyvawt
wrthwynt, Diau bot hyn yn ryvedd, can na wy-
ddo-chwi o b'le * y mae ef, ac eto ef a agores vy ly-
gait i. A' gwyddam na ‡ chlyw Dew bechaduri-
eit: eithyr a's bydd un yn addolwr Duw, ac yn gw-
neythu'r y wyllys ef, hwn a erglyw ef. *Er ioed
ny chlyspwyt agori o neb lygait ‡ un a'enit yn ddall.

*Pena

*nett
‡ddywet, wrthep
‡osot, ordeinhay
*y ddisynagogy
‡drachefyn
*y gwelaf
‡paddelw
*yr awrhô, yn awr, gynel
*ydd hanoedd
‡wrendy ar
*O ddechreu byt
‡mab ddall

*Pe na bysei y gvvr hwn o Dduw, ny allesei ef wneuthur dim. Atepesont, a' dywedesőt wrthaw, ym-pechotae ith anet ti yn ollawl, ‡ a' thi a'n dyscy ni? Ac vvy y bwriesson ef allan. Yr Iesu a glyspa ddarvot yddynt y vwrw ef allan: a' gwedy ydyddaw y gahel ef, y dyvawt wrthaw, A yw ti yn credu ym-Mab Duw? Yntef a atepawdd ac a ddyvot, Pwy'n yw ef, Arglwydd, val y credwyf yndaw? A'r Iesu a ddyvawt wrthaw, A' thi y gweleist ef, a' hwnw ydyw'sydd yn * ymddiddan athi. Yno y ‡ 'syganei yntef, Arglwydd, ydd wyf yn credu. Ac y addoli ef a wnaeth. A'r Iesu a ddyvot, I varnu y deuthy-mi ir byd hwn, *y'n y bo i'r ei ny welant, gael gwelet: ac ir ei a welant, bot yn ddeillion. A'r eto'r Pharisaieit ar oedd gyd ac ef, a glywsant y pethen hyn, ac a ddywedesont wrthaw, A ydym ni ne ddeillion hefyt? A'r Iesu a ddyvot, wrthynt, Pe deillion vyddech, ny byddei ‡ y-chwy bechot: and yr owrhon y dywedwch, Ydd ym yn gwelet: can hyny y mae eich pechot yn aros.

*A ny

‡ac a ddyscy nyni?

*hwedlcua

‡dywedei

*val

‡arnoch

## Pen. x.

Christ yw'r gwir vugail, a'r drws. Amryw varneu am Christ. Ydd ys yn gofyn iddo, ai efe yw Christ. Ei weithredoedd yn datcan y vot ef yn Dduw. Bot galw y Cenawdurieit yn dduwiae.

Yr Euāgel ar ddie Marth y Sul gwyn.

Yn wir, yn wir y dywedaf y chwi. Hwn nyd a *y mewn drwy'r drws ir *gorlan y deveit, anid dringo ffordd arall, lleitr ac *yspeiliwr yw ef. Eithyr hwn a a y mewn drwy'r drws,

*ny ddaw ir

*gail

*porthawr

yw bugail y deuait. I hwn yd agor y *dryso[r] deuait a wrendy ei leferyd, a'ei deueit ehun a el[w] ‡wrth y h'enw, ac ei dwc allan. A' phan ddan[fo]

‡erwydd erbyn

no ei ddeueit ehun allan, ydd a o ei blaen wy, a'r deueit y canlyn ef: can ys adwaenant y leferyd

*ffo

‡ddamec hon

ef. A'r dyn dieithr ny's canlynant, anid *ciliaw ‡ywrthaw. can ys nad adwaenant leferydd eithreit. Y ‡parabol hwnn a ddywot yr Iesu wr[th] wynt ac ny ddyallesont wy pa bethae oedd y rhai ddywedesei ef wrthwynt. Yno y dywot yr Iesu wrthwynt drachefyn, Yn wir, yn wir y dywedaf wrthych, Mi yw'r drws y deueit. Cynniuer a ddeuthant om blaen, llatron ynt ac yspeilwyr eithyr ny wrandawawdd y deueit ddim hanwynt Mybi yw'r drws: trywo vi a's aa nep y mewn e bydd cadwedic, ac ef aa y mewn ac aa allan, a a gaiff borfa, Y lleitr ny ddaw, an'd i ledrata, ac ladd, ac y ddinistriaw: mybi a ddeuthym val y

*buchedd

‡amlach

caffent * bywyt ac er caffael o hanwynt ‡ehelaeth.

*Yr Euangel yr ail Sul gwedy'r Pasc.*

*nyd eiddo'r

‡ffoa, ffy

*hyneueit i

‡ys ydd i mi

*einioes, bywyt

‡ffold, buarth, cayor

¶Mivi yw'r bugail da: y bugail da a ryd ei enaid dros ei ddeuait. Eithyr y gwas-cyflog a'r hwn ny yw bugail, ac * nyphiae'r deueit, a wyl y blaidd yn dyvot, ac a edy yr deueit, ac a gilia, a'r blaidd ei yscylyfia, ac a darfa'r deueit. A'r gwas-cyflog a ‡gilia, can y bot ef yn was-cyflog, ac eb ofal am y deueit. Mi yw'r bugail da, ac a adwaen *y meuvi, ac im adwenir y gan ‡y meuvi. yr edwyn y Tat vyvi, velly ydd adwaen i y Tat a'-mi a ddodaf vy *eneit dros vy-deueit. Ac y mae y mi ddefait eraill, yr ei nid ynt o'r ‡gorlan hon[n]

rhait

rhai i mi *areiliaw yr ei hynny, ac wy a wrandawant vy lleferydd : Ac e bydd vn gorlan ac vn bugail.

Am hyny car vy-Tat vivi, can y mi bot yn *dodi vy einioes y lavvr, val ey cymerwyf hi drachefyn. Ny ddwc neb hi o ‡ ddyarnaf, eithyr mi ai dodaf hi y lavvr, ac mae i mi vediant y'vv dodi hi y lavvr, ac mae yn' veddiant y'w chymmeryd drachefyn : y gorchymyn hwn a dderbyniais y gan vy-Tad.

Yno *y bu ‡ aimcafael chwng yr Iuddaeon am yr ymadroddion hyn. A' llawer o hanynt a ddywedent, y mae cythrael ganthaw, ac mae wedi ynuydu :* paam y gwrandewch ‡ ef, Ereill a ddywedent. Nid yw'r 'ein'eiriae vn *a chythrael ganthaw : a all y cythrael agori llygait y deillion? Ac ydd oedd hi yn vvyl y ‡ Cyssecr yn Caerusalem, a'r gayaf oed hi. A'r Iesu a rodiei yn y Templ yn-porth *Selyf. Yno y daeth yr Iuddaeon oy amgylch ef, ac y dywed-sont wrthaw, Pa hyd y ‡ perii ni *bedrusaw? A's ti yw'r Christ, dywed i ni yn ‡ eglur. Yr Iesu a atepawdd, Dywedais y chwy, ac ny chredwch : y gweithredoedd yr yw [illegible] yn gwneythu'r yn Enw vy-Tat, yr ei hyny a destolaethant am dana vi. Eithyr chwi ny chredwch : can nad ydych o'm devait, mal y dywedais y chwy. Y deveit mau vi a *glywant vy llef i, a' mi a adwaen hwy, ac wy am dilynant i, a' mi a rof ydd ynt buchedd tragyvythawl, ac nys cyfer gollir wy byth, ac ‡ ny's treisia nep wy y maes o'm llaw i. Vy Tad yr hwn y rhoes vvy y-mi, ys y vwy nag [illegible] phawb oll, ac *ny's gaif nep y dwyn hwy allã o law vy-Tat.

*goleth, ddwyn ataf
*rhoi, gosot
‡y cenyf
*ancydfod, ancymod
‡yr aeth hi yn
*arno
‡pa wrando wnewch arno,
*cythraelie dic
‡Adnewyddiat
*Solomon
*amheu, ddowto, ddysgwyl-y lleddy yn calon-
‡vrhaw, leu.
ddiragath
*wrendy ar
‡ny'w
*nyd abl, nys digon

vy-Tat. Mi a'r Tat vn ydym. Yno yr Iuddeon drachefyn a * godesont ‡vain, y w lapyddio ef. Yr Iesu a atepawdd yddwynt, Llawer o weithredoedd da a ddangoseis ywch' o y wrth vy-Tat: am ba vn o'r gweithredoedd hyn y llapyddiwch vi? Yr Iuddeon a atepesont iddo, gan ddywedyt, Am weithret da nid ym ith lapyddio, eithyr am gabledigeth, *'sef am y ti yn ddyn, wnethur dy vn yn Dduw. Yr Iesu y atepawdd wy, Anyd yw'n scrivenedic yn eich Deddyf chwi, Mi ddywedais, duwiae ych? A's galwawdd ef wy yn dduwiae ‡ar yr ei'n y bu gair Duw wedy * draethu, ac na ellir ‡dattod yr Scrypthur-lan, a ddywedwch-chwi am dano yr hwn a sancteiddiawdd y Tat, ac ei danfonawdd ir byt, Ydd wyt yn cablu, o bleit dywedyt o hanaf, Map Duw ytwyf? Anyd wyf yn gwneuthur gweithredoedd vy-Tat, na chredwch * vi. Ac a d wyf vi ne yn ei gwneuthur, ‡ cyd na chredoch vi, credwch y gweithredoedd, val y gwybyddoch a chretoch, vot y Tat yno vi, a' mine yndaw ef. Yno drachefyn y ceisiesont y ddalha ef: ac ef a * ddiengod allan o'u dwylaw hwy, ac aeth drachefyn tros Iorddanen, i'r lle y bysei Ioan yn batyddio yn gyntaf, ac a arosawdd yno. A' llawer a * ddaethant atawy, ac a ddywedent ny wnaeth Ioan ‡ gwyrth: eithyr pop peth oll ar a ddywawd Ioan am y gwr hwn, oeddent wir. A' llawer a gredesont yndaw yno.

*gymersōt ‡vainu, dafu

*ac

‡wrth

*roddi

†ancwblau, dirymu, dattrol, torri

*y my

‡er

*aeth, dyanod ymaes

‡y waith

*gyrchesont

‡arwydd, miracl

## Pen. xj.

Christ yn codi Lazarus o varw. Yr Archoffeiriait a'r Phariseit

thleit yn ymgygcori yn y erbyn ef. Caiaphas yn prophwyto. Christ yn cynnu o ddiar y ffordd.

AC ydd oedd *vn yn glaf, a elwit Lazarus o'r Bethania 'sef tref Mair, a'hi chwaer Martha. (A'r Mair oedd hi yr hon a iroð yr Arglwydd ac ireid gwyrthfawr, ac a sychawdd y draet ef a' hi gwallt, yr hon oedd ei brawt Lazarus wedy clefychu.) Am hyny yd anvonawdd y chwiorydd ef attaw gan ddywedyt, Arglwydd, wely, yr hwn a gery di, 'sy'n glaf. Pan glybu'r Iesu, y dywedawdd, Nyd yw'r * clefyt hwn ‡ yd angeu, eithyr er gogoniant Duw, mal y gogonedder Map Duw * trwy hyny.

A'r Iesu a garei Martha a'ei chwaer, a' Lazarus. A' gwedy ydd aw glywed y bot ef yn glaf, er hyny ef arosawdd ddau ddydd yn'oyssat yn y lle ydd ydoedd. Yno yn ol hyn, y dywedawdd wrth ei ddiscipulon, Awn i'r Iudaia drachefyn. Y disciplon a ddywedesont wrthaw. *Athro, ‡ yn hwyr y ceisiawdd yr Iuddaeon dy lappyddiaw di, ac a ai di yno drachefyn? Yr Iesu a atebawdd, Anyd oes deuddec awr * o ddydd? A's rodia nep y dydd, ny ‡ thramcwydda ef, can ydd-aw weled goleuni y byt hwn. Eithr a's rhodia nep y nos, ef a dramcwydda, can nad oes goleuni yndaw. Y pethe hyn a ddywawt ef, ac wedy hyn y dywawt wrthynt, Y mae ein car Lazarus yn * hunaw: eithyr ydd wyf yn myned yw ‡ ddihunaw ef. Yno y dywawt eu ddisci=

*neb
‡ennennioð
*haint
‡angheuol, varwol
*canthaw, wrth hwnw
*Rabbi
‡ yn awr
*ynyd
‡thripia
*cyscu
‡ddyffrot

*cyscu
‡gwych
*varw
‡oleu, ddi-
ledlef
*genyf
*gymddei-
thion
‡y varw
*bot
‡erbyn hyn
*ystod'sef
agos i ddwy
villtir
‡y gwyno
yddynt, yw
dyhudd
*glybu
‡ar
*olaf
‡vuchedd
*cyd bei ef
varw
‡Do

discipulon, Arglwyd, ad yw ef yn * hunaw e byd
‡ holl iach. A'r Iesu a ddywedesei am y * angau
ef: ac wythe a dybiesont mai am gysciat cynthun y
dywedesei ef. Yno y dyvawt yr Iesu yddynt
‡ eglaer, E vu varw Lazarus. A'llawen *
er ech mwyn chwi, nad oeddwn yno, val y
doch: eithyr awn at-aw. Yno y dywot Tho-
mas (yr hwn a elwit Didymus) wrth ei * gyd
cipulon, Awn ninehefyt, ‡ val y bom veirw gyd
ac ef.

Yno y daeth yr Iesu, ac ei cafas ef wedy * vod
yn y bed ys pedwar diwarnot ‡ weithian. (A Be-
thania oedd yn agos i Cairsalem, yn-cylch pym-
thec *stad o y wrthi.) A' llawer o'r Iuddaeon
ddaethesent at Martha a' Mair ‡ yw confforddi
hvvy am eu brawd. Yno Martha pan * glybu
ddyvot o'r Iesu, aeth y gyvarvot ac ef: a' Mair
eisteddawdd yn tuy yn vvastat. Yno y dywot Mar-
tha wrth yr Iesu, Arglwydd, pe buesyti yma, ny
besei varw vy-brawd. Eithyr yr owrhon y gwn
i hefyt, mai pa bethe pynac a erchych ‡ i Dduw
y dyry Duw y-ty. Yr Iesu a ddyvot wrthei, Cy-
fyt dy vrawt drachefyn. Martha a ddyvot wr-
thaw, Mi wn y cyvyt ef yn y cyvodiadigaeth yn y
dydd * dywethaf. Yr Iesu a ddyvot wrthei, Mi
yw'r cyvodiadigaeth a'r ‡ bywyt: yr vn a gred y-
vi, *er y varw, byw vydd. A' phwy pynac sy vyw
ac a gred yn o vi, ny bydd marw byth. A wyt yn
credu hyn? Hi ddywedodd wrthaw, ‡ Yr Ar-
glwydd, mi gredaf mai ti yw'r Christ Map Duw,
yr hwn oedd ar ddyvot i'r byt.

A' gwe

A' gwedy ydd hi ddywedyt hyn, hi aeth ymaith, ac a alwodd Vair hi chwaer *yn ddirgel, gan ddywedyt, E ddaeth ‡ y Dyscyawdur ac y mae yn galw am danati. A' phan clybu hithe, hi a gyfodes yn ebrwydd, ac a ddaeth atav ef. Obleit ny ddaethei'r Iesu etwa ir dref, and ydd oedd ef yn y lle y cyfarfuesei Martha ac ef. Yno yr Iuddæon yr ei oeddent y gyd a hi yn tuy, ac y confforddient hi, pan welsont Vair, a' chvyody o hanei ar frwst, a' mynet allan, y dilinesont hi, gan dywedyt, Mae hi yn mynet ir *bedd, y wylaw yno. Yno gwedy dyvot Mair ir lle 'r oedd yr Iesu, a' ei weled ef, hi a gwympawdd y lawr wrth y draet ef, gan ddywedyt wrthaw, Arglwydd, pe besyt' yma, ny bysei varw ve-brawd. Can hynny pan welas yr Iesu hi yn wylaw, a'r Iudaeon hefyd yn wylaw r'ei ddaethei y gyd ac yhi, ef a ‡ griddvanodd yn yr yspryt, ac a *ymgynnyrfodd, ac a ddyvot, P'le y dodesoch ef? Dywetsont wrthaw, Arglwydd, dyred a' gwyl. A'r Iesu a wylawdd. Yna y dyvawd yr Iuddaeon, ‡Wely, *mal yr oedd e yn y garu ef. A'r ei o hanaddynt a ddywedent, Any allesei hwn a agorawdd lygeit y dall, ‡wneuthur hefyt, val na bysei hwn varw? Yno 'r Iesu drachefyn a * griddvanodd yntho yhun, ac a ddaeth i'r ‡ bedd. *A' gogof ydoedd, a' ‡llech a ddodesit arno. Dywedawdd yr Iesu, Cymerwch ymaith y * llech. Martha chwaer hwn a veisei varw, a ddyvot wrthaw, Arglwydd, y mae ef *weithian yn drewi: canys e bu varvv er ys pedwar diernot, Yr Iesu a ddyvot, wrthei, Any ddywedais y-ty, pe a's credyt, y

*dan llaw
‡yr Athro
*bonwent
‡grwythos, ffromodd.
*aroes e-bwch nei er thwch
*ymgyffroes
‡Synna
*caret
‡bert
*ffromawd
‡bonwent
*Ac yn ogof yr oedd
‡maen
*maen
‡yr owrhon

dyt, y *gwelyt 'ogoniant Duw? Yno y cymerent
sôt ymaith y llech or lle y dodesit y ‡marw. Yr Ie-
su a dderchafawdd eu *lygaid ac a ddywot, Y Ta-
ddwy'n diolvvch y-ty, can darvot y-ty vy ‡clywed.
Mi 'wn y clywyt vi *bop amser, eithyr o bleit y
popul 'sy yn sefyll o y amgylchyn, y dywedais y
hynn, val y credant, mai tudi am danvonawd. A
gwedy iddo ddywedyt y pethe hyn, ef a lefawdd a
llef vchel, Lazarus dyre'd allan. Yno hwn a vu
varw, a ddaeth allan, ‡wedy rwymo o traed a
dwylo * a rhwymyne, ai wynep a rwymesit a ‡
kyn. Yr Iesu a ddywot wrthynt, Gellyngwch ef y
rhydd, a' gedwch iddo wyned ymaith.

Yno llawer o'r Iuddaeon, y daethent at Mair,
ac a welesont y pethe, 'rei wnaethoedd yr Iesu, a
gredesont yndo ef. An'd 'rei o hanynt aethant y-
maith at y Phariseieit, ac a ddywedesont y-
wynt y pethe a wnaethoedd yr Iesu. Yno y cyn-
llawdd yr Archoffeiriait a'r Phariseieit ‡synned,
ac ey dywedesôt, Pa beth a wnawn? can ys y mae'r
dyn hwn yn gwneythur llawer o wyrthiae. Ar
gadwn yddo val hyn, pawp oll a credant ‡yndo,
ac y ddaw y Rufeinwyr ac a * gymerant ymaith
a'ein lle, a'r genedl hefyt. Yno vn o hanaddyn
elvvit Caiaphas, vn oedd Archoffeiriat y vlwyddyn
hono, a' ddywot wrthwynt, Nyd y-chwi yn gwy-
ly diin oll, ac nyd ych yn ystyried ‡ y llesa i ni, bot
marw vn *dyn tros y popul ‡ac na chyfergollo
yr oll *genetl. Hyn a ddyvod ef nyd o hano y hun,
eithyr can y vot yn Archoffeiriat y vlwyddyn ho-
no, y prophwytawdd ef y byddei'r Iesu varw tros
y genetl.

*capt weled
‡corph
*olwc
‡gwrando
+yr wassat
‡yn rhwym
*ac amwisc
‡ffunen
*eisteddfot, gygcor
‡ado
*ddileant
‡vot yn lles yn rhaid
*gwr
‡val
*nasion

y genetl: ac nyd tros y genetl yn vnic, eithr ar vot yddaw gasclu hefyt ynghyd yn vn blant Dew yr ei a'wyscaresit. Yno o'r dydd hwnw allan y cyd ymgyngorhesont, y w *ddienyddu ef. Iesu gan hyny ny rodiawdd mwyach yn ‡ gyoeddus ym-plith yr Iuddaeon, eithyr mynet o ddyno y wlat ysydd yn agos i'r diffaithvvch, y ddinas y elwit Ephraim, ac aros yno y gyd a'i ddiscipulon.

*ladd, diva, ddiwetha
‡amlwc, oleu

A'r ‡Pasc yr Iuddaeon oedd yn agos, a llawer o'r wlat aeth y vynydd y Gairusalem o vlaen y Pasc, y'r ymlanhay. Yno y ceisiesont wy y'r Iesu, ac a ddywedent wrth y gylydd, ac wy yn sefyll yn y Templ, Beth a dybygwchwi, *can na ddaw ef ir wyl? Ac e roesei'r Archoffeiriait a'r Phariseait hefyt orchymyn, a's gwypdiat neb p'le ydd oedd ef ei ddangos o hanaw, val y gallent y ddala ef.

*pryd
‡ffest

## Pen. xij.

Christ yn escuso gweithred Mair. Ewyllys da yr ei tu ac ato ef, a'chynddaredd ereill yn y erbyn ef a'Lazarus. Cōmoynas y *groc. Y weddi ef. Atep y Tat. Y varwoleth ef, a'i ffrwyth. Ef yn annoc i ffyd. Dalli yr ei, a' gwendit ereill.

*groes

YNo yr Iesu chwech diernot cyn y Pasc a ddaeth i Bethania, lle yr oedd Lazarus, y vesei varw, 'rhwn a godesei ef* o vairw. Wy wnaethēt y-ddaw yno swper, a' Martha oedd yn gwasanaethu: a' Lazarus oedd vn o'r ei a eistedent i vwrdd

*y wrth y mairw,

y gyd ac ef. Yno y cymerth Mair ‡ bunt o irait, * spicnard tra gwerthvawr, ac a irawdd draet yr Iesu, ac a sychawdd ei draet ai gwallt, a'r tuy a lanwyt o arogl yr ‡ irait. Yno y dywawt vn oi ddiscipulon, sef Iudas Iscariot 'ap Simon, yr hwn oedd ar vedr y bradychu ef, Paam na werthwyt yr irait hwn er trichant ceinioc, a'u roddi i'r tlodion? Ef a ddywedei hyny, nyd o herwydd y * gavalei ef am y tlodion, anyd am y bot ef yn lleidr, a' bot ‡ yr amner gantaw, ac yn * dwyn hyn a roddit yndo. Yno y dywot yr Iesu, Gedwch yddhi: erbyn dydd vy-claddedigeth eu cadwodd hi hyn. Can ys y tlodion ‡ a gewch * bop amser gyd a chwi: a' minef ny chewch bop amser. Velly tyrfa ‡ liosawc o'r Iuddaeon a wybu y bot ef yno: ac vvy ddaethant nyd er mvvyn yr Iesu yn vnic, eithyr er mvvyn gweled Lazarus hefyt, yr vn a godesei ef o vairw. Yno yr ymgyngorawdd yr Archoffeiriait, ar yddyn * ddivetha Lazarus hefyt, o bleit bot llawer o'r Iuddaeon er y dwyn ef yn myned ymaith, ac yn credu yn yr Iesu.

Tranoeth tyrfa liosawc rhon a ddaethei erbyn yr 'wyl, pan glywsant y dauei'r Iesu i Gaerusalem, a gymersont geinciae o'r palmwydd, ac aethant ymaith y * gyfwrdd ac ef, ac a lefesont, Hosanna, Bendigedic yvv'r Brenhin yr Israel yr hwn 'sy yn dyvot yn Enw yr Arglwydd. A'r Iesu a gafas ‡ asennic, ac a eisteddawdd arnaw, megis y mae yn escrivenedic, Nac ofna, haverch Tsion: nachaf dy Vrenhin 'sy yn dyvot gan eistedd ar * ebol asen. Ac ny ddyallei ey ddiscipulon y pethe hyn y ‡ waith

gyntaf

‡ bwys
* lavand
‡ oelment
‡ y pwrs
* arwein
‡ ysy
* ynwastat
‡ vawr, ampl
* ladd
* gyfarbot
‡ asenyn, asen bach, ne ieuanc
* llwdn
‡ pen, tro, or blaen

gyntaf: eithyr wedy gogoneddu yr Iesu, yno y cofiesont vvy, pan yvv bot y pethe hyn yn escrivenedic * o honaw, a' daruot yddynt wneuthur y petheu hyn yddaw ef. Y dyrva gan hyny rhon oedd y gyd ac ef, a destolaethawdd 'alwo o hanaw ef Lazarus allan o'r bedd, ac yddo y gody ef o vairw. Am hyn y cyfarvu y ‡ dorf hefyt ac ef, can ys clywsent wneuthur o hanaw y micacl hwn. A'r Pharisaieit a ddywedesont wrthyn y hunain, A welwch na'd ydych yn *tycio dim? Nacha 'r byd sy yn myned ar y ol ef.

Ac ydd oedd ryvv Groecwyr yn y plith wy, r'ei ddaethent y bynydd y addoli * ar yr 'wyl. Ac wy ddaethant at Philip, yr hwn oedd o Bethsaida yn-Galilaia, ac a ddeisyfesont arnaw, gan ddywedyt, ‡ Arglwydd, * ni a wyllysem 'weled yr Iesu. Philip a ddaeth ac a ddyvot i Andreas: a' thrachefyn Andreas a' Philip a ddywedesont i'r Iesu. A'r Iesu a atepawdd ydd-wynt, can ddywedyt, Eddaeth yr ‡ awr, pan y gogonedir Map y dyn. Yn wir, yn wir y dywedaf y-chwy. * A ny syrth y gronyn gwenith ir ddaiar a' marw, ef a aros yn unic, eithyr a's bydd marw, e ddwc ffrwyth lawer. Hwn a garo eu ‡ einioes, ei cyll, a' hwn a gasao ei einioes yn y byt hwn, ei caidw i vywyt tragywythawl. A's gwasanaetha nep vi, dylyn et vi: can ys lle y bwy vi, yno hefyt y bydd vy-gwas: ac a's gwasanaetha neb vi, vy-Tat y anrydedda ef. Yr owrhon y cynhyrfir vy enait: a' pha beth ddywedaf? Y Tat, cadw vi rhac yr awr hon: eithyr o bleit hyn y daethym' i'r awr hon. Y Tat,

*am danaw

‡dyrva, popul

*gwneythur lles yn y byt: yn digoni

*yn, erbyn

‡Tiwr, Hawr, Syra

*Da oedd genyn: &c.

‡amser

*O ddyeithr syrthio, cwympo,

‡hoedl

gogonedda dy Enw. Yno y daeth llef o'r nef, gan ddyvvedyt, A'u gogoneddais, ac au gogoneddaf drachefyn. Yno y popul oedd yn gorsefyll, ac yn yn clywet, a ddybot mai * taran ytoedd hi: yr ei a ddywedent, Angel a ‡ labarawdd wrthaw. Y Iesu atepod ac a dybot, Ny daeth y llef hon o'm pleit i, eithr er ych mwyn chwi. Yr owrhon y mae barn y byt hwn: yr owrhō y tevlir allan tywysoc y byt hwn. A' mi o'm derchefit * o'r daiar, a dynnaf bavvp oll ataf i nef. A' hyn a dybot ef, can arwyddocau o ba angae y bydei ef varw. Y popul eu atepod, Ni ni a glywsam o'r ‡ Ddedyf, yr aros y Christ yn tragywythol: a' pha vod y dywedy di, bot yn * dir derchavel y Map y dyn? pwy yw'n y Map y dyn hwnw? Yno y dyuot yr Iesu wrthwynt, Eto ychydic ‡ enhyt y mae'r goleuni y gyd a chwi: rodiwch tra vo y chwy 'oleuni, rac dybot y tywyllwch ar eich gwartha: can ys hwn a rodia yn y tywyllwch, ny wyr i b'le ydd a. Tra vo'r goleuni y chwy, credwch yn y goleuni, val y boch yn blant i'r goleuni. Y pethe hyn a adroddodd yr Iesu, ac aeth ymaith, ac a ymguddiodd y wrthwynt. A' * chyd gwneuthur o hanaw gymeint o wrthiae ‡ geyr y bron hwy, eto ny chredent wy yndo. Mal y cyflawnit ymadrodd Esaias y Prophwyt, yr hwn a ddybot ef, Arglwydd pwy a gredawdd y'n ymadrodd ni? ac y bwy'n ‡ datguddiwyt braich yr Arglwydd? Am hyny ny allent wy gredu, can i Esaias ddywedyt drachefyn, Ef a ddallawdd y llygait wy, ac a galedawdd ei calonae, val na welent a ei llygait, ac na dyallent a ei calonae, ac ym-

chwelyt

*trwst
‡ymddiddanodd ac ef
*y ar
‡Gyfraith
*raid
‡amser
*er
‡yn y gwys
*yr e glurwyt
‡hyn o glywodd genyme

ymchwelyt vvy, ac y mi y iachau hwy. Y pethae hyn a ddyvot Esaias pan welawdd y'ogoniant ef, ac y ymadrodd awdd * am danaw. Er hyny ‡ ac o'r pennaduriett llawer a gredesont yndaw: eithyr *o bleit y Phariseieit, ny's ‡ cyffessesont vvy ef, rac eu * chol allan o'r Synagog. Can ys-carent voliant dynion yn vwy na moliant Duw. A'r Iesu a lefawdd, ac a ddyvot, a gred yno vi, ny chred yno vi, eithyr yn hwn am danvonawdd i. A'm gweli, a wel hwn am danvonawdd i, Mi a ddeuthym yn'oleuni i'r byt, val y boy bwy bynac a gred yn o vi, nad aroso yn y tywyllwch. Ac a's clyw neb vy-geiriae, ac * ny chred, mi ny's barna ef: can na ddaethym' ‡ i varnu'r byt, eithyr y * iachau'r byt. A'm gwrthoto i, ac nyd erbynio vy-geiriae, y mae iddo vn a ei barn: y gair y adrodd eis i, hwnw y barn ef yn y dydd dywedaf. Can ys mi nyd ymadrodd eis o hanaf vyhun: eithyr y Tat yr hwn am danvonawdd i, efe a roes i mi 'orchymyn pa beth ddywedwn, a'pha beth a ymadroddwn. A'mi wn bot y'orchymyn ef yn vywyt tragywythol: y pethe gan hyny 'r wyf vi yn ei ymadrodd, a ymadroddaf megis ac y dywedd awdd y Tat * y-my.

*o hanaw
‡ao
*rac
‡addefesont
*disynagogi, escommuns
*ch gredu
‡er barnu
*gadw, waredu
*wrthyf

## Pen. xiij.

Christ yn golchi traet y discipulon. Can y h'annoc y vvylltot a'chariat. Ef yn dywedyt ydd ynt am Iudas vradwr. Ac yn gorchymyn yddyn yn ddyfri garu eu gylydd. Ef yn rhybuddio ymblaen am ymwad Petr.

YNo* cyn no gwyl y Pasc, a'r Iesu yn gwybot ddybot y awr ef, y dy-madaw o'r byt hwn at y Tat, can iddo garu * yr eiddaw yr ei oedd-ent yn y byt, yd y dywedd y ca-rodd ef hwy. A' gwedy darbot swp-er (ac yr owon dodi o ddiabol yn-calon Iudas Iscariot, ap Simon, y bradwychu ef) yr Iesu yn gwybot roddy o'r Tat yddaw bop peth oll yn y ddwylo, ay bot ef wedy dyvot y wrth Dduw ac yn myned at Dduw, cyvodi o honaw y ar swper, a' ‡rhoi heibio ei dillat vchaf, a' chymeryd ‡llieinyn, ac ymwregysu. Gwedy hyny, ef a dy-wallodd ddwfr* ir cawc, ac a ddechreuawdd 'olchy traet y discipulon, a'y dysychu a'r llieinyn, ar hwn y gwregysit ef. Yno y daeth ef at Simon Petr, y hwn a ddywot wrthaw, Arglwydd, ai ti a ylch vy traet i? Yr Iesu a atepodd ac a ddyvot wrthaw, Yr hyn a wna vi, ny wyddos ti yr owrhon: eithyr ti ei gwybyddy ‡ gwedy hyn. Petr a ddyvot wr-thaw, Ny chei 'olchy vy-traet i byth. Yr Iesu a atepodd, A nyth 'olchaf di, ny chai ddim ran y gyd a mi. Simon Petr a ddyvot wrthaw, Arglwydd, nyd vy-traet yn vnic, a myn hefyd y dwylo a'r pen. Yr Iesu a ddyvot wrthaw, Hwn a 'olchwyt, nyd oes * eisie arno amyd golchy ei draet, eithyr y mae yn 'lan ‡oll: a' chwithe ydych yn 'lan, eithyr nyd pawp oll. Can ys ef a wyddiat pwy y bradwy-chei ef: am hyny y dywedawdd, Nyd ydych yn 'lan bawp oll.

Velly gwedy iddo olchy eu traet, a' chymeryd ei

ddillat,

*blaen
‡drengy, dramwy, vyned
*y briodo-lion

‡diosc, diharu

‡twel ffu-nen, pilin
*mewn trwp

‡yn ol hyn, rhac llaw

*raid iddo
‡glwbl, y gyd

ddillat, ac eistedd o honavv y lawr drachefyn, y dy-
vot wrthynt, A wyddoch pa beth a wneuthym'y-
chwy? Chwi am gelwch yn Athro. ac yn Arglwydd
‡ac iawn y dywedwch: can ys velly'r wyf. A's
mi *yntef ac yn Arglwydd, ac yn Athro yvvch, a
'olchais eich traet, chwy chvvi hefyt a ddylech 'olchy
traet y gylydd. Can ys roesym esempl y chwy, ar
wneuthur o hano chwi, megis ac y gwnaethy-mi
ychwi. Yn wir, yn wir y dywedaf y-chwi, Nyd
yw'r gwas yn vwy na'u Arglwydd, na'r *cenadwr
yn vwy na'r hwn a ei danvonawdd ef. A's gwyddo-
chvvi y pethe hyn, ‡ gwynvydedic ydych, a's gwne-
wch hwy.

Nyd wyf yn dywedyt am danoch ‡ bawp, mivi
wn pwy'r ei a *ddetholeis i: eithyr bot hyn er cy-
flawny'r Scripthur 'lan, 'sef Hwn 'sy yn bwyta
bara gyd a mi, a godes eu sawdl yn v'erbyn i. ‡ O
hyn allan y dywedaf ychwy cyn na eu ddyvot, val
gwedy y del, y credoch *mai mivi yw ef. Yn wir,
yn wir y dywedaf y-chwi, A's anvonafi nebun,
hwn y derbyn ef, a'm derbyn i, a'hwn a'm der-
byn i, a dderbyn yr vn am danvonawdd i. Gwedy
dywedyt o'r Iesu y pethe hynn, ef gynnyrfit yn yr
yspryt, ac a testolaethawdd, ac a ddyvot, Yn wir
yn wir y dywedaf y chwy, mai vn o hanoch am
bradycha i. Yno 'r discipulon a edrychesont ar y
gylydd, gan ‡betrusaw am ba vn y dywedesei ef.
Yno ydd oedd vn o ei ddiscipulon yr hwn a *ogwy-
ddei ar ‡vonwes yr Iesu, yr hwn a garei'r Iesu.
Ar hwn gan hyny yr amneidiawdd Simon Petr,
ymofyn o hanaw pwy'n oedd yr hwn y dywedesei

‡a' da
*gan hyny
*apostol
‡gwyn eich byd, dedwydd
‡oll
*ddewysais
‡Yr awrhon
*taw
‡ddolwrfo
*bwysawdd
‡ascre

ef am danaw. Ac yntef yn gogwyddo ar bonwes
yr Iesu, a ddyvot wrthaw, Arglwydd, pwy'n yw
ef? yr Iesu atepawdd, Hwnw yw ef, yr un y
y rhoddwy vi iddo * dameit wedy'r ‡ i mi ei enllynu:
ac ef a * enllynawdd dameit, ac eu rhoes i
Iudas Iscariot, ap Simon. A' gwedy'r tamet,
yr aeth Satan ymevvn ynthaw. Yno y dyvot yr
Iesu wrthaw, A wnelych, gwna ‡ yn ebrwydd.
Ac ny wyddiat neb o hanwynt y oedd yn eistedd i
vvyta, am ba beth y dywedesei hyny wrthaw. Ca-
ys rei a dybient am bot * yr amner gan Iudas, y
dywedesei'r Iesu wrthaw, Pryn y pethe 'sy ‡ ag-
nom eisieu erbyn yr wyl: neu yddo roi peth ir tlo-
dion. Yno * cy cyntet y'd erbyniawdd ef y tamet, ef
aeth yn y man ‡ y maes, a'r nos oedd hi.

A gwedy y vynet ef y maes, y dyvot yr Iesu, Yr
owrhon y gogoneddwyt y Map y dyn, a' Duw a
'ogoneddwyt ynddaw. A's Duw a 'ogoneddwyt
ynddaw, Duw hefyt y gogonedda ef ynddaw e-
hun, ac yn ebrwydd y gogonedda ef, yntef. Ha
* blantynot, eto enhyt bach ydd wyf gyd a chwi:
chvvi am caisiwch, ac mal y dywedais wrth yr Iu-
ddaeon, I b'le ydd a vi, chwychvvi ny allwch dyvot:
hefyt i chwi y dywedaf yr awrhon. Gorchymyn ne-
wydd 'wyf yn roi ychwy, ar garu o hanoch y gy-
lydd: mal y cerais i chwy chvvi, a'r ychwy garu
garu bavvb y gylydd. * Wrth hyn y gwybydd pawp
eich bot yn ddiscipulon i mi, a's cerwch bavvb y gy-
lydd. Simon Petr a ddyvot wrthaw, Arglwydd,
I b'le ydd ai di? yr Iesu ei atepawdd, ‡ I b'le
ydd a vi, ny elly di vy-canlyn yr owrhon: eithyr
canlyn-

*bwydyn, tymeit
‡drochi, wlychu.
*wlychawdd
‡ar vrys, chwipyn
*y pwrs
‡trait i ni wrthyn.
*er
‡allan.
*vebionos
‡y chwaen
*Yn, Ar
‡I'r lle

ganlyn y vi ‡ gwedy. Petr a ðyvot wrthaw, Argl-wydd, paam na allaf dy ganlyn yr owrhon? vy einioes a ddodaf ymaith * drosot. Yr Iesu ei atepawdd, A ddodi ymaith dy einioes droso vi? yn wir yn wir y dywedaf y ti, Ny chan y ceiliog, nes yti vy-gwadu deir-gwaith.

‡ yn ol hyn

* erot, er dy vwyn

## Pen. xiiij.

Ef yn arfu ei ddiscipulō a dyddanwch yn erbyn trallot. Ef yn escen ir nefoedd y paratoi lle i ni. Y ffordd, y gwirioned a'r bywyt. Y Tat a' Christ yr vn. Pa wedd y dylem weddiaw. Yr *addaw ir sawl a gatwant y'air ef.

* promiss

A C ef a ddyvot wrth ei ddiscipulon, Na *thrwbler eich calon: ydd ych yn credy yn-Duw, credwch yno vi hefyt. Yn-tuy vy-Tat y mae llawer o drigvaeu a' phe amgen, ys dywedyswn ychwy. Mi af i ‡ baratoi lle y chwy. A' *gwedy ydd elwyf i baratoi lle ychwy, mi a ddauaf drachefyn, ac a'ch cymeraf ataf vy hun, mal yn y lle ydd wy vi, y bo chwi hefyt. Ac i b'le ydd a vi, y gwyddoch, a'r ffordd a wyddoch. Thomas a ðyvot wrthaw, Arglwyð, ny wyddam i b'le yð ai: a *ph'wedd y gallom wybot y ffordd? Yr Iesu a ðyvot wrthaw, ‡ Mi yw'r ffordd, a'r gwirionedd, a'r ‡ bywyt. Ny ddaw nep at y Tat, an-yd trwy vi. Pe'd adnabyddesech vi, vy-Tat a adnebyddesech hefyt: ac o hynn allan ydd adwaenoch ef, ac ei gwelsoch: Philip a ðyvot wrthaw, Arglwyð, dangos i ny dy Tat, a' *digon

Yr Euāgel ar ddydd Philip ac Iaco-

* chyntyrvoer, thallodr

‡ ddarpary

* chyd

* phaddelw

‡ Mydi

‡ vuchedd

* bodlon

genym. Yr Iesu a ddyvot wrthaw, Bum gyda chwi gyhyt o amser, ac nyd adnabuost vi, Philip? yrhwn a'm gwelawdd i, a welawdd vy-Tat: a' pha wedd y dywedy di ‡dangos i ni d-y Tat? a ny chredy, vy-bot i yn y Tat, a' bot y Tat yno vi? y gairiae ydd wyf yn ey *dywedyt wrthych, nid o hanof vyhun ydd wyf yn ey dywedyt: eithyr y Tat yr hwn ys y yn trigio ynof, efa wna y gweithredoedd. Credwch vi, *pan yw i mi bot yn y Tat, a'r Tat yno vi: ‡ac anyd e, er mwyn y gweithredoedd, credwch vi. Yn wir, yn wir y dywedaf wrthych, hwn a cred yno vi, y gweithrededa wna vi, a wnaiff yntef hefyt, a'r ei mwy na'rhein a wnaiff: can ys at vy-Tat ydd a vi. A' pheth bynac a *archoch yn vy Enw, hynny a wnaf, yny' ogonedder y Tat yn y Map. A'd erchwch ddim yn vy Enw, mi ei gwnaf.

‡gad i ni weled

*adrodd

*vymot

‡or lleiaf

*°ovynoch

*Yr Euangel ar y Sul gwyn*

*A cherwch vi, cedwch vy-gorchymynion, a' myvy a weddiaf ar y Tat, ac e ryd y chwy ‡ Ddidanwr arall, mal ydd aros ef y gyd a chwi yn tragywyddol, ys ef Yspryt y gwirionedd, yr hwn ny ddychon y byt ei dderbyn, cā na wyl y byt ef, ac na'd edwyn: a' chvvi chwi y adwaenoch ef: can y bot ef yn trigo gyd a chwi, ac y-noch y bydd. Ny's gadawaf chwi yn ymddivaid: anid mi a ddauaf atoch. Eto *y chydic enhyd, a'r byt ni'm gwyl mwyach, a' chwi a'm gwelwch, can ys byw vyvy, byw vyddwch chwichwi hefyt, y diernot hwnw y gwybyddwch vy-bot i yn vy-Tat, a' chwi yno vi, a myvi yno chwi. Y neb ys ydd a'm gorchymyneu gantho, ac y ew cadw, ef yw'r hwn a'm car i: a' hwn a'm car

*As cerwch

‡gōforddwr

*y chwaen

i, a

i, a gerir gan vy-Tat: a' mi y caraf ef, ac a ym-ddangosaf yddaw. Judas a ddyvot wrthaw (nyd yr vn Iscariot) Arglwydd, pa beth yw'r achos yr ymddangosy i ni, ac nyd i'r byt? Yr Iesu atepawdd, ac a ddyvot wrthaw, A's car nep my vi, ef a gaidw vy-gair, a'm Tat y car ef, a' ni ddau won atthaw, ac a drigwn gyd ac ef. Y nep ni'm car, ny chaidw vy-geiriae, a'r gair yr hwn a glywch, nid yw vy-eu, a nid gair y Tat yr hwn am danvones. Y pethae hynn a ddywedais wrthych, a mi gyd a chwi yn aros. Eithyr y Diddanwr, ys ef yw yr yspryt glan, yr hwn a ddenvyn y Tat yn vy Enw, efe a addysc ychwy ‡ yr oll pethae, ac a ddwc ar gof ychwy * yr oll pethae, a'r a dywedeis y-chwy. ‡ Tangneddyf a 'adawaf * gyd a chwi: vy-tangneddyf a roddaf ychwi: nyd mal y rhydd y byt, y rhodda vi ychwi. Na chynnwryfer eich calon, ac nac ofner. Y clywsoch mod y dywedais wrthych, Af ymaith, a' daf atoch. * Pe carech vi, ys llawenechech, can i mi ddywedyt, Af at y Tat: can ys mwy yw vy-Tat no my vi. Ac yr awrhon dywedais y chwi, cyn ei ddyvot, mal pan ddelo, y peth y credoch'. Yn ol hyn ny ddywedaf ny-mawr o pethae wrthych: can ys ‡ tywysawc y byt hwn 'sy yn dyvot, ac nid oes iddo ddim yno vi. A nid hyn fydd er gwybot or byt, y caraf vy-Tat: a' megis i gorchymynawdd y Tat y-mi, velly y gwnaf. Codwch, awn ymaith oddyma.

‡pop peth
*y cwbyl
‡Hedwch
* i
‡A'a
‡pennaeth, pennadur

## Pen. XV.

Y melus ddidanwch a'r cydgariat rhwng Christ ai aylodev-dan.

‡vvrth

‡dan ddamec y winwydden. Am ei cyffredin vlinderuch ai hymlit. Swydd yr Yspryt glan a'r Apostolon.

*Yr Euãgel ar dydd Marc.*

*diwylliawdr tir

‡glanha

M Ivi yw 'r winwydden, a'm Tat ys a *laburwr. Pop caingen ny ddwc ffrwyth ynofi, ef ei tynny-maith: a' phop vn a ddwc ffrwyth, ef ei carth, mal hi dyco mwy o ffrwyth. Yr awrhon ydd ywch'yn 'lan can y gair, a dywedais ychwi. Aroswch ynof, a' mi ynoch: megis na all y gain-gen ddwyn ffrwyth o hanei ehun, a nyd erys yn y winwyddyn, velly nyd ellwch chwi, a nyd aro-swch ynof. Mi yw'r winwydden: chwi yw'r cain-genae: y nep a aroso ynof, a mi yndaw, hwnn y ddwc ffrwyth lawer: can ys eb ofi, ny ellwch w-neythy dim. An'd erys vn ynofi, e a *tavlwyt allan val cangē, ac a ‡wywa: ac y cesclir wy, ac ei tavlir yn tan, ac ei loscir. A'd aroswch ynof, a'm o'm gairiae ynoch, erchwch beth bynac a ewyll-soch, ac eu gwnair y chwy. Yn hyn y gogoneddir *vy-Tat, ar y chwi ddwyn ffrwyth lawer, a'ch gwnaethy'r yn ddiscipulon i mi. Mal y carawdd vy Tat vi, velly y cerais i chwi: trigwch yn vy-cariat. A's vy-gorchymynion a gedwch, aros a wnewch yn vy-cariat, megis ac y cedweis i'orchymynió vy-Tat, ac ydd arosaf yn y gariat ef. Y pethae hyn a ddywedeis wrthych, ‡y n yd aroso vy llewenydd ynoch, a' bot eich llawenydd yn gyflawn.

*Bwrir

‡grina

*bydhad

‡val

*Hyn

*Hwn yw'r gorchymyn meu vi, bot y chwi garu bavvp eu gylydd, mal y cerais i chwi chvvi. Cariat mwy

mwy no ‡ hwn nyd oes gan nep, pan * ddyd neb vn ei ‡ einioes tros ei gereint. Chwychwi yw vy-cereint, a's gwnewch * y pethae bynac a orchymynaf ychwy. ‡ Weithian, ny'ch galwaf chwi yn weisiō, can na wyr y gwas pa beth a wna ei Arglwydd: eithyr gelweis chwi yn gereint: cā ys ‡ yr oll bethe a glyweis y gan vy-Tat, a wnaethum-yn-wybodedic y-chwy. Nyd chwychwi am * detholawdd i, eithyr mivi ach detholais chwi, ac ach ‡ darpareis chwi, y vyned o hanoch a' dwyn ffrwyth, a' bot ich ffrwyth aros, val ba beth bynac a archoch ar y Tat yn vy Enw i, y rhoddo ef y-chwi.

Y pethae hynn a'orchymynaf y-chwy, cary o hanoch y gylydd. A's y byt a'ch casaa, gwybyddwch gasay o honaw vi cyn na chwi. Pe o'r byt y bysech, y byt a garei yr eiddo: a chan nad ych o'r byt, eithyr imi ech * ethol allan o'r byt, am hynny y casaa'r byt chwi. ‡ Coffewch y gair a ddwedais ychwy, Nid mwy gwas na ei Arglwydd. A's erliedesont vi, wy ach erlidiant chwi hefyt: a's vy-gair i a gatwasant, wy gatwant eich gair chwi. Eithyr y pethae hyn oll a wnant y-chwy er mwyn vy Enw i, can nad adnabuant yr hwn am danvonawdd. Pe bysswn eb ddyvot, ac eb ymddiddan * ac wynt, ny byddei arnynt pechat: an'd yr owrhon nid oes ganthwynt liw ymescus. Y nep am casaa i, a gasaa vy-Tat hefyt. Pe na's gwnaethwn weithredoedd yn y plith wy, yr ei ny's gwnaethei nep arall, ny bysei pechat arnynt: ac yr owrhon y gwelsont, ac a'm casesont ‡ i a'm Tat. Eithr hynn y ydder cwplay y gair, a yscrivenir yn y Deddyf wy:

‡ hyn
* yw
‡ rydd
* enaid, hoedl
‡ beth bynac
* Bellach, o hyn allan
‡ dewisodd
* gosodeis, ordeiniais

*Yr Euāgel ar ddydd Simon ac Iudas.*

* dywys
‡ Cofiwch
* wrthynt

wy, Wy am casesont i *yn rhat. An'd pan ddel y
‡Dyddanwr, yr hwn a ddanvonwy vi atoch y
wrth y Tat, ys ef Yspryt y gwirionedd, yr hwn a
*ddaw y wrth y Tat, hwnw, a testiolaetha ‡am
danaf, a' chwi destoliaethwch hefyt, can eich bo
o'r dechraeat gyd a mi.

*eb achos
‡Conffor-
dwr
*a ddeillia,
gynnyrchia
‡o hanof

## Pen. xvj.

Ef yn y coffan hwy am y * groc, ac am eu gwendit yhunai
a ddawei. Ac am hyny y mae yn y cofforddio hwy a gau
ewit or Yspryt glan. Am ad-ddyvodiat Christ. Am ei ‡to
cenciad. Erchi yn Enw Christ, tangneddyf yn-Christ, a
yny byt blinderwch.

*groes
‡dderchafel

Y Pethe hyn a ddywedais y chwy, ra
bot ych *rhwystro chvvi. Hwy ac
‡ escominunant chwi: *and e da
'r amser, y bydd i pwy pynac ac
lladdo, dybiet y bot yn gwneuthu
gwasanaeth y Dduw. A'r pethe hyn
a wnant y chwy, can nad adnabuant y Tat, n
mivi. Eithyr y pethe hyn a ddywedais ychwy, fal
pan ddel yr awr, y ‡cofioch, *ddar bot i mi ddyw
dyt hyny y-chwy. A'r pethe hyn ny's ddywedais
chwy o'r dechreuat, o bleit vy-bot y gyd a chwi.
Ac yr awrhon ydd af ymaith at yr hwn om danfo
nawdd, ac nyd oes yr vn o hanoch yn ymofyn
mi, J b'le'r ai di: Eithyr can i mi ddywedyt y pethe
hyn ychwy, y mae eich calonæ yn llawn tristit. Ei
thyr mi a ddywedaf y chwi'r gwirionedd, lles yw
ychwy

*trangwy-
ddo
‡o'i synago-
gant
*ys, ie
‡coffaoch
meddylioch
*ddywedyt
o hanof
*Yr Euangel y iiij. Sul gwedy yr Pasc.*

ychwy vy myned i ymaith: o bleit a nyd af ymaith, ny ddaw y *Diddanwr atoch: eithr a's af ymaith, mi ei danvonaf atoch. A' gwedy del ‡ef, yntef a *argyhoedda y byt ‡o bechot, ac o gyfiawnder, ac o barn. O bechot, can na chredant ynof. O gyfiawnder, can vy-bot yn myned at vy-Tat, ac ny'm gwelwch mwyach: O barn, can ys *tywysoc y byt hwn a varnwyt. Y mae i mi etwa lawer o bethae y'w dywedyt wrthych, eithyr ny ellwch ei dwyn yr awrhon.

A pan del ef yr hwn yw Yspryt y gwirionedd, ef a'ch *arwein chwi ir oll wirionedd: can ys nyd ymadrodd ef o hanaw ehun, anyd pethe y bynac a glyw ef, a ymadrodd ef, ac a venaic ychwy y pethey ‡ar ddyvot. Efe am gogoneddai: can ys o'r meuvi yd erbyn ef, ac ei *menaic ychwy. Oll bethe 'syeiddo y Tat 'sy veuvi: am hynny y dywedais, mai o'r meuvi y cymer ef, ac eu menaic y-chwy. Y chydic enhyd, ac ny'm gwelwch: a' thrachefyn y-chydic enhyd, a' chwi am gwelwch: can ys myvi a af at vy-Tat. Yno y dyvot rei o'r discipulon wrthyn, y gylyd, Beth yw hynn a ddyweit ef wrthyn,* Y chydic enhyt, ac ny'm gwelwch, a' thrachefyn, y-chydic enhyd, a' chwi am gwelwch, ac, Can ys myvi a af at vy-Tat? Can hyny y dywedesont, Beth yw hyn a ddyweit ef, Ychydic enhyt? ny's gwyddam pa beth a ddywet ef. A'r Iesu a wybu y chwenychent ymofyn ac ef, ac a ddyvot wrthynt, Ai ymofyn ydd ych ai gylydd am ddywedyt o hanof hyn, Ychydic enhyt, ac ny'm gwelwch: a thrachefyn, ychydic enhyt, a' chwi a'm gwelwch? Yn wir,

*conffordiwr, dyhuddwr
‡hwnnw
*argyhoedda
‡am, can, o bleit
*pennaeth
*tywys
‡y
*dengys
*Yr Euangel y iij. Sul gwedy yr Pasc.*
‡Ychwaen

wir, yn wir y dywedaf wrthych, y bydd y chwi
wylo ac * alaru, a'r byd a lawenha: a' chwi
drist-ewch, eithyr eich tristit ‡ a ddymchwelir y
llawenydd. Gwraic * wrth escor-dyn-bach bydd
mewn trystit, can ddyvot y h'awr: eithyr gwedy
geni ydi'r dyn-bach, ny chofia hi mwyach o'r gofit,
fit, * gan lawenydd geni dyn ir byt. A'chwitheu
hyny ydych mewn tristit: eithyr e vydd ym' ech
gwelet drachefyn, a'ch calonae a lawenycha, ac
llewenydd ny's dwc nep y arnoch. ‡ A'r dydd hwnw
nyd erchwch ddim arnaf. Yn wir, yn wir y
dywedaf y chwy, pa bethae bynac a archoch ar y
Tat yn vy Enw i. ef ei * rhydd y ychwy. Yd hyn
nyd archesoch ddim yn vy Enw i: erchwch, a
byniwch, val y bo cyflawn eich llawenydd. y
the hyn a adroddeis wrthych ‡ ym-parabolae
e ddawr amser, pryd nad ymadrodwyf mwyach
wrthych ym-parabolae: eithyr menagaf y chwi
eglur am y Tat. Yn dydd hwnw yr erchwch yn
vy Enw i, ac nyd wyf yn dywedyt wrthych, y gwe-
ddia vi ar y Tat trosoch. Can ys ef y Tat sy
caru, o bleit caru o hanoch vi, a' chredu dy
hanof allan y wrth Dduw. Danthym allan y
y Tat, a' deuthym ir byt: trachefyn ydd wyf
gadaw'r byt, ac yn myned at y Tat: Dywedei
eu ddiscipulon wrthaw, Wele'r awrhon* yr
drodd y yn eglur, ac ny ddywedy vn ‡parabol
owrhon y gwyddam y gwyddosti bop peth, o
*nyd rait y ty ymofyn o nep athi. Wrth hyn y g
ddam, ddyvot o hanot allan y wrth Dduw
Iesu a atepawdd yddynt, A gredwch vvi y

*girad
‡dorir, daw
*ar enedigeth etived
‡dorabel
*8
‡Ac yn y
*ymy
*Yr Euangel y v. Sul gwedy'r Pasc.*
*dyry, dyd
‡ar ddamegion
*y dyswedy
‡ddamec
*‡es cisie
‡Llyma

[...]Nacha, yr awr yn dyvot, ac'sy eisioes wedyvot, pan ich goyscerer ‡pawp at yr eiddaw, ac im gedwch vi yn vnic: ac nyd wyf yn vnic: can y Tat ys y gyd a mi. Y pethe hyn a *lavarais wrthych, y gaffael o hanoch ynof dangneddyf: yn y byt y cewch 'orthrymder, eithr byddwch o ‡ confort da: mi vi a *'orchyfygeis y byt.

‡pop vn i briodolion
*adroddais, ddywedais
‡ffir, cyffir, galhon
*orbyddais

## Pen. xvij.

Gweddi Christ ar y Tat, a' throsso yhun a' thros ei Ebestyl a'hefyd tros y sawl oll a dderbyniant y gwirionedd.

Pethe hyn a adroddawdd yr Iesu, ac a dderchavawdd ei *lygait er nef, ac a ddybot, Y Tat, mae'r awr wedy dyvot: gogonedda dy Vap, megis ac y gallo dy Vap dy 'ogoneddu di. Mal y rhoddeist yddaw veddiant ar bop ‡cnawt, y roddy o hanaw buchedd dragywythawl y gynniuer oll ac a rodeist yddaw. A'hon yw'r *buchedd tragywythawl, 'sef yddyn dy adnabot ti y bot yn unic wir Dduw, a'r hwn a ddanvoneist Iesu Christ. Mi a'th 'ogoneddais ti ar y ddaiar: cwpleis y gwaith y roddeist ymy y wneuthur. Ac yr awrhon gogonedda vi, tu di Dat, gyd a ‡thydy, a'r gogoniant a*oedd i mi gyd a thi o vlaen bot y byt. ‡Eglurais dy Enw y ddynion yr ei a rodeist ymi allan o'r byt: tau di oeddent, a' rhoddaist hwy i mi, a'chadwasant dy 'air. Yr awrhon y gwyddant, am oll pethae bynac a'r a roddeist i mi, y bot o *hano

*olwc
‡dyn
*bywyt
*gorphenais
‡thi dyhun
*gefeis
‡Amlygais datcenais
*ycanyt

no ti. Can ys rhoesym yddynt y geiriae, a rhoeist y mi, ac wynt eu derbyniniesont, ac a wybuant yn ddieu ddyuot o hanof y wrthyt, ac a gredesont mai tu am danvonawdd i. Mivi sy yn gweddiaw drostynt: nyd wyf yn gweddiaw tros y byt, eithyr tros yr ei a roddeist y-my: can ys tau ydynt. A'c oll vau yyn tau, a'r tau yyn vau, ac im gogoneddir ynddynt. Ac yr owrhon nyd wyf mwyach yn y byt, eithyr bot rhei'n yn byt, a' mi'sy yn dyuot atat. Y Tat sanct, cadw hwy yn dy Enw, 'sef yr ei a roddeist ymy, yn y bont vn, val ydd ym ni. Tra oeddwn gyd ac wynt yn y byt, mi ei cedweis hwy yn dy Enw: yr ei a roddeist y-my, a gedweis, ac ny choll wyt yr vn o hanynt amyd y map y cyfergoll, er cyflawnu'r Scrythur 'lan. Ac yr awrhon yd af atat, a'r perh[illegible] yn ydd wyf yn y bydroedd ymy byt, val y caffant dy llewenydd yn gyflawnedic ynddynt e hunain. Mivi a rois yddynt dy 'air, a'r byt y casaodd hwy, can nad ynt o'r byt, megis ac nad wyf vi o'r byt. Nyd weddiaf a'r gymeryt o hanot hwy allan o'r byt, eithyr ar y ty y cadw hwy y wrth ddrwc. Nyd ynt vvy o'r byt, megis ac nyd yw vinef o'r byt. Sancteiddia hwy ath wirionedd: dy 'air sy wirionedd. Megis yd anvoneist vi ir byt, velly yd anvoneis i'n hwy ir byt. Ac er y mwyn hwy yr ym sancteiddia vi, megis ac y sancteiddier hwythe hevyt trwy'r gwirionedd. Ny wediaf tros y'r 'ei hyn yn vnic, eithyr tros y sawl hefyt a'r a gredant y nof vi, trwy y gair hwy, megis y byddant vvy oll yn vn, mal ti, Dat, vvyt yno vi, a' mivi yno ti: 'sef mal y bont wythe hefyt yn vn ynom, i mal y credo 'r byt

rbyt ddar bot y ti bydanbon i. A'r gogoniant a ro-
ddeist i mi, a rois i ydd wynt, mal y bont vn, me-
gys ydd ym ni vn, myvi ynddynt hvvy, a' thi yno vi,
yn y bont *gwbl yn vn, ac y ny wypo'r byt, mai
tidi am danvonawdd i, ac y careist hwy, megis y ce-
raist vi. Y Tad, wyllysu' ddwyf am yr ei a roddeist
y-my, y bot wy gyd a mi yn y lle ac ydd ydw vi, val
y caffant ‡ edrych y gogoniant meuvi, yr hwn a
roddeist y mi: can ys ceraist vi cyn no bot sailiat y
byt. A Dat cyfiawn, y byt hefyt nith adnabu, a'
mivi ath adnabuo, a'r ei hyn a adnabuant, mai
tidi a'm danvonawdd. A' mi ddatcenais yddynt
dy Enw, ac eu datcanaf, y n y bo y cariat y cereist
vi, ynddynt-hwy, a' minne ynddynt hvvytheu.

*berffaith

‡dremio, welet

*declerieis

# Pen. xviij.

Brad Christ. Gelynion yn ei ddal ef yn taro y swyddogion ir llawr. Petr yn trychu y maes glust Malchus. Dwyn Christ rhagbron Annas a' Caiaphas. Petr yn i wadu ef. Ef yn menegi i Pilatus pa ryw y deyrnas ef.

GWedy ir Iesu dywedyt ypethe hyn, ydd aeth allan ef a ei ddiscipulon dros *garoc Cedron, lle ydd oedd gardd, yr hon ydd aeth y mewn, ef a ei ddiscipulon. Ac Judas yr hwn a ei bradychodd ef, y adwaenei hefyt y lle: can ys mynych y bysei'r Iesu yn ‡tramwy yno ef a' ei ddiscipulon. Ac Judas wedy iddo gahel *catyrfa o wyr a' swyddogion,

Y. Euāgel ar dydd Gwener y croglith.

*avon, nant

‡cyrchy treiglo

*cywdawt



gan

gan yr Archoffeiriait, a'r Phariseaid, a ddeuth yno
a' chanthwynt ‡ dan-llestri a'* thewynion ac arfau.
Yno'r Iesu yn gwybot pop peth a ddelei arnaw, a
aeth rhacddaw, ac a ddywot wrthynt, Pwy 'ddych
yn ei gaisiaw? Wy ei atepesont, Iesu o Nazaret.
Yr Iesu a ddywot wrthwynt, Myvi yw ef. A Iu-
das hefyt yr hwn y bradychodd ef, oedd yn sefyll
gyd ac wynt. Ac ‡ er cynted y dywot ef wrthwynt,
Myvi yw ef, wy aethant yn * wysc ei cefn, ac a
syrthiesont ir llawr. Yno y gofynodd ydd wynt dra-
chefyn, Pwy 'ddych yn ei gaisiaw? Ac wy a ddy-
wedesont, Iesu o Nazaret. Yr Iesu a atepawdd,
Dywedeis y-chwy, mae myvi yw ef: can hyny a's
mi a gaisiwch, gadwch ir ei hynn vyned ymaith.
Hyn a vu er cyflawny'r gair yr hwn a ddywedesei
ef, O'r ei'n a roddeist ymy, ny cholleis i ‡ nebun.
Yno Simon Petr ac cantham gleddyf, ei tynawdd,
ac a drawodd was yr Archoffeiriat, ac a dorres ei
glust ddeheu ymaith. Ac enw yr gwas ytoedd Mal-
chus. Yno y dywot yr Iesu wrth Petr, Dod dy
gleddyf yn y wain: Anyd yfaf * o'r cwpan a roddes
vy-Tat ymy? Yno'r ‡ gywdawt a'r * penciwdawd
a' swyddogion yr Iuddaeon a ddaliesont yr Iesu,
ac ei rhwymesont, ac ei ducesont at Annas yn
gyntaf (canys ‡ chwegrwn ytoedd ef i Caiaphas,
yr hwn oedd Archoffeiriat y vlwyddyn hono) ac
Caiaphas oedd hwn, a roesei gyccor ir Iuddeon, mae
rhaidiol oedd i vn dyn varw tros y popl. Ac Simon
Petr oedd yn ‡ canlyn yr Iesu, a' discipul arall a'r dis-
cipul hwnw oedd yn adnabyddus * gan yr Archo-
ffeiriat: an hyny yd aeth ef y mewn gyd a'r Iesu i
lys

‡ lanterni
* ffaculae, tyrs
‡ cy
* llwyr i hol
‡ yr vn
* yr
‡ dyrva,
* capten
‡ tad yngbyfraith
‡ dilin
* ar

lys yr Archoffeiriat. Ac Petr oedd yn sefyll allan
wrth y drws. Yno ydd aeth allan y discipul arall
oedd adnabyddus gan yr Archoffeiriat, ac a ym-
ddiddanawdd a'r *ddrysores, ac a dduc Petr y
mywn. Yno y ddrysores a ddyvot wrth Petr, Anyd
yw titheu yn vn o ddiscipulon y dyn hwn? Ef a ddy-
vot, Nac wyf. A'r gweision a'r swyddogion a sa-
vent yno, yr ei a wnaethent daan glo: can ys oer-
vel ytoedd, ac wy a ymddwymment. Ac Petr hefyt
a safai yn ei plith, ac a ymddwymmei. Yno'r Archo-
ffeiriait a ymofynodd a'r Iesu am ei ddiscipulon,
ac am ei ddysc. Yr Iesu a atepawdd ydd-awo. Myvi
a ymadroddeis ar ‡'oystec ir byd, myvi bytho-
edd yn *athrawy yn y Synagog ac yn y Templ,
lle y dawei'r oll Iuddaeon ynghyt yn oystat, ac
yn ‡guddiedic ny ddywedais i ddim. Paam y go-
fynny i mi? gofyn ir ei'n a'm clywsant, pa beth ddy-
wedeis wrthwynt: *nycha, wyntwy a wyddant
pa beth a ddywedais. Gwedy iddaw ddywedyt y
pethae hyn, vn o'r swyddogogion oedd yn sefyll
ger llaw, a ‡drawodd yr Iesu a ei wialen, gan ddy-
wedyt, A atepy'r Archoffeiriat velly? Yr Iesu ei
atepodd. A's dywedais yn ddrwc, testolaetha o'r
drwc: ac a's dywedais yn dda, paam i'm trawyr?
Ac Annas ei danvones ef yn rhwym at Caiaphas
yr Archoffeiriat. Ac Simon Petr oedd yn sefyll
ac yn ymddwymmaw, a' dywesont wrthaw, A nyd
yw tu hefyt yn vn o y discipulon ef? Ef a wataodd,
ac a ddyvot, Nac wyf. Vn o weision yr Archofei-
riat, car i hwn y torrei Petr ei glust, a ddyvot
wrthaw, Any welais i dydy yn yr ardd gyd ef?

*porthores
‡ar gyhoedd
*dyscy
‡ddirgel, dan llaw
*wele
‡gernodiawdd

Yno Petr a wadawdd trachefyn, ac yn y van y ca-
nawdd y ceiliawc. Yno y ducesont yr Iesu o ywrth
Caiaphas ir dadledy. A'r borae ytoedd hi, ac wy-
twy nid aethant ir dadlaedy, rac eu halogy, an yd
mal y gallent bwyta yr Pasc. Pilatus yno aeth a-
llan atwynt, ac a dyuot, Pa achwyn 'sy genwch yn
erbyn: y dyn hwnn? Atep a wnaethant a' dywe-
dyt wrthaw, Pe bysei hwn eb wneuthy * drwc
ny roddesem ni ef atat. Yno y dywot Pilatus wr-
thynt, Cymerw-chwi ef, a' bernwch ef ‡ wrth eich
* dedyf eich hunain. Yno y dywot yr Iuddaeon wr-
thaw, Nid ‡ rydd i ni roi nep i angae. Hynny vu er
cyflawny 'r gair a ddywedesei 'r Iesu, gan arwy-
ddocay o pa angae y byddei varw. Velly Pilatus
aeth y mewn ir dadlaedy trachefyn, ac a alwodd
yr Iesu, ac a dywot wrthaw. Ai-tu yw'r Brenhin
yr Iudaeon? Yr Iesu a atepawdd iddavv, Ae o ho-
nat tuhun y dywedy hynn, ai er eill ei dywot y-
am danaf? Pilatus a atepawdd. Ae Iuddew ‡ yw
vi? dy * genedl dy hun, a'r Archoffeiriait, a'th ro-
esan di ataf vi. Pa beth a wnaethost? Yr Iesu a
atepawdd, Vy- ‡ teyrnas i nid yw o'r byt hwnn:
pe o'r byt hwnn bysei vy-teyrnas, yn wir vy-
gwasanaethwyr a ymddladdent, mal na'm rhoi-
ddit ir Iuddaeon: an'd yr owrhon nid yw vy-
teyrnas o ddyma. Pilatus yno a ddywot wrthaw,
Can hyny ai * Teyrn ytwyt? Yr Iesu a atepawdd.
Tu ys y'n dywedyt mae ‡ Teyrn ytwyf: er mwyn
hyn i'm ganet, ac er mwyn hyn y dauthym ir byt,
'sef i testolaethy * ir gwirionedd: pop vn a hanyw
o'r gwirionedd, a ‡ wrendy vy lleferydd. Pilatus a

ddywot

*afrifet
‡erwydd, yn ol, Cyfraith
‡cyfreith-lawn
‡wyf
*nasion
‡brenhin-iaeth
*Brenhin
‡Brenhin
*gyd a'r
‡glyw

ddywot wrthaw, Pa beth yw gwirionedd? A' gwedy iddaw ddywedyt hyn, ef aeth allan drachefyn at yr Iuddaeon, ac a ddywot wrthwynt, Nyd wyf yn cahel vn bai arno. A nid mae genych ddevot, vot i mi ellwng ychwy vn yn rhydd ‡ ar y Pasc. Velly a ewyllysiwch i mi ellwng i chwi yn rhydd * Vrenhin yr Iuddaeon? Yno y llefesont oll drachefyn, can ddywedyt, Nyd hwnn, amyn Barabbas: a'r Barabbas hwnw oedd ‡ leitr.

‡erbyn pryd y mynediac
*Deyrn
‡lawrydioc

## Pen. xix.

Pryd na allei Pilat 'ostegu cynddaredd yr Iuddaeon yn erbyn Christ, ef y delifrodd ef ai arscrivē yw grogi rhwng dau leitr. Wy yn bwrw * coelbrenni am y dillat ef. Ef yn gorchymyn ei vam i Joan. Yn galw am ‡ lyn, Yn marw, bot tyllu y ystlys ef, ei gymeryd o var y groc. Ei gladdu.

*cyte, cvvtyse
‡ddiavvt

Yno y cymerth Pilatus yr Iesu ac ‡ ydd yscyrsiawdd ef. A'r milwyr a blethesont coron o ddrain, ac ei gesodesont ar ei benn. Ac a * coesont wisc ‡ burpur am danaw, ac a ddywedesont, Henpych well, Vrenhin yr Iuddaeon. Ac wy y * trawsant ef a ei gwiail. Yno Pilatus aeth allan trachefyn, ac a ddywot wrthwynt, ‡ Nycha, ydd wyf yn ei ddwyn ef allan ychwi, val y gwypoch, nad wyf yn cahel vn bei arnaw. Yno y deuth yr Iesu allā yn * arwain coron o drain, a gwisc ‡ purpur. Ac Pilatus a ddywot wrthwynt, * Nycha'r dyn. Yno yr Archoffeiriat ar twysogiō pan wellsāt ef, a

‡y ffrywyll liodd
*dodesont
‡coch
*cernodiesont
‡Wele
*dugy, dwyn, gwisco.
‡porphor, coch
*Wele, Llyma

 lefesant

lefāt cā dywedyt, ‡Croc, croc ef. Pilatus a ddywot
wrthwynt, Cymerwch-wi ef a'ch-rogwch: can
nad yw vi yn cael bai arnaw. Yr Iuddaeon a atte-
pesont yddaw, y mae i ni *Ddeddyf ac ‡ erwydd
ein Deddyf ni, ef ddyly varw, can yddaw ei wne-
thyd ehun yn Vap Duw, A' phan glywo Pilatus
yr ymadrodd hwnw, ef ofnod yn vwy, ac aeth dra-
chefyn ir dadlaedy, ac a dybot wrth yr Iesu, O b-
ith hanyw ti? A'r Iesu ny roddes vn atep iddaw.
Yno y dybot Pilatus wrthaw, A ny ddywedy di
beth wrth y-vi? A ny wyddost bot i mi veddiant ith
groci, a' bot i mi veddiant ith ellwng? Yr Iesu a
atepawdd, Ny byddei yty ddim meddiant yn vy er-
byn, pe na's roesit y-ty oduchod: can hyny yr hwn
a'm rhodes yty, y sy vwy ei bechot. Ac o hynny a-
llan y caisiawdd Pilatus y ellwng ef: a'r Iu-
ddaeon a lefent, gan ddywedyt, A's *gellyngy
di hwn, nyd wyt ti gar i Caisar: can ys pwy bynac
ei gwna ehun yn Vrenhin, ef a ddywait yn erbyn
‡ Caisar. Pan glywodd Pilatus yr ymadrodd hy-
ny, ef a dduc yr Iesu allan, ac a eisteddawdd ar yr
orseddfainc yn y lle a elwyt y Palmant, ac yn He-
breo Gabbatha. Ac ydd oedd hi yn ddarpar y Pasc,
ac yn-cylch y chwechet awr, ac ef a ddybot wrth yr
Iudeon, *Nycha eich Brenhin. Ac wy a lefent, y-
maith ac ef, ymaith ac ef, croc ef. Pilatus a ddybot
wrthynt. A crocaf vi eich Brēhin? Yr Archoffeiriait
atepesont, Nyd oes y ni Vrenhin oddieithr Cai-
sar. Yno ef y rhoes ef yddwynt, y'w groci. Ac wy
gymersont yr Iesu, ac ei ducesont ymaith. Ac ef a
dduc ei ‡groc, ac a ddeuth i le a elwit y Penglog
yr hwn a elwir yn Hebreo Golgotha: lle cregesont

‡Crocsa, crosshoela

*Gyfraith

‡wrth, yn ol

*maddeuy, rhyddhey

‡yr ymperawtr

*Wely

‡groes

ef, a' dau erail gyd ac ef, vn o pop parth, a'r Iesu yn y cenawl. Ac Pilatus a escrivenawdd titul ac ei gesodes ar y *groc, ac ydd oedd wedy'r escriveny IESV O NAZARET BRENHIN YR IVDDAEON. A'r titul hwn a ddarlleawdd llawer o'r Iuddaeon: can ys y lle y crogesit yr Iesu, oedd yn agos i'r dinas: ac ydd oedd yn yscrivenedic yn Hebreo, Groec, a' Llatin. Yno y dyvot yr Archoffeiriait yr Iudaeon wrth Pilatus, Nag yscrivena, y Brenhin yr Iude-on, eithyr bot y'r o dywedyt, Brenhin yr Iudeon yt-wyf. Pilatus a atepodd, yr hyn a escrivenais, a yscri-venais. Yno'r milwyr wedy ydd wynt grogi'r Iesu a gymersont ei ddillat ac ei gwnaethant yn bedair rhan, i bob milwr ran, a'y bais ef: a'r bais oedd ‡ yn ddiwniat, wedy'r weheu o'r cwr uchaf trwyddhei. Can hyny y dywedesont wrth ei gylydd, Na* ra-gwn ynhi, eithyr bwriwn am denei, pwy bieu bydd. Hyn vu er cyflawni yr Scrythur a ddywait, Ra-nesant vy-gwisc yn ei plith, ac ‡ ar vy-pais y* bw-riesont coelbrenni. Velly'r milwyr a wnaeth hyn yn ddiau. Yno y sefynt wrth groc yr Iesu ei vam, a'i chwaer ei vam, Mair gwraic Cleopas, a' Mair Magdalen. A'phan weles yr Iesu ei vam, a'r discipul yn sefyll ger llaw y garei ef, y dyvot wrth ei vam, Wreic, wely dy vap. Yno y dyvot wrth y discipul, ‡ Wele dy vam: ac o'r awr hono y cymerth y discipul y hi* ato adref. Ar ol hynny pan wybu yr Iesu vot pop peth wedy'r ‡ ddybenny, er mwyn cyflawny'r Scrythur, e ddyvot, Mae arnaf sy-ched. Ac ydd oedd yno lestr wedy'r osot yn llawn o vinegr: ac wy a lanwesont * yspong o vinegr:

*groes

‡eb wniat

*ohanwn, pharthwn

‡am

*y tynesont gytrysae

‡Nycha

*yw gartref, ai yr eiddaw

‡orphen, ddyweddy

*yspwrn.

*estenesont ac ei roesynt ynghylch paladr hyssop, ac ei * dode-
‡o'r sont wrth ei enae. A' gwedy i'r Iesu gymeryd yr
*Gorphen- bynecr, y dywot, * Dibennwyt. Ac a ei ben ar o-
nwyt gwydd y rhoddes e yr yspryt. Yr Iuddeon yno (can
‡ynghroc y bot yn Ddarpar, rac bot y cyrph yn aros ‡ ar y
groc ar y dydd Sabbath: (can ys mawr oedd y
Sabbath hwnw) a ddeisyfesont ar Pilatus gahel
dryllio y escairie hwy, a'ei tynnu i lawr: yno y
daeth y milwyr, ac a ddryllieson escairie'r cyntaf,
ac ysceiriae'r llall, yr hwn a grogesit gyd a'r Iesu.
A'n dpan ddaethant at yr Iesu, a' ei welent wedy
marw eisioes, ny ddrylliesont y escairie ef. Eithyr
*brathodd vn o'r milwyr a gwaew a * wanodd y ystlys ef, ac
yn van ydaeth allan waed a dwfr. A'r hwn a'e gwe-
lawdd, a testolaethawdd, a' gwir yw y destolaeth
ef: ac ef a wyr ei bot yn dywedyt gwir, val y cre-
doch chwi. Can ys y pethe hyn a wnaethpwyt, val y
cyflawnit yr Scrythur; Ny drillir ascwrn o ha-
naw. A' thrachefyn e ddywait Scrythur arall,
‡brathesant Wy a welant yr vn a ‡ wanasont trwyddo. Ac wedy
trwyddaw hyn, Ioseph o Arimathaia (yr hwn oedd ddiscipul
yr Iesu, 'n amyn yn ddirgel rac ofn yr Iuddeon)
a archawdd ar Pilatus gahel tynny i lawr gorph
yr Iesu. Ac Pilatus a ganiataodd ydd aw. Yno
y deuth ef ac y cymerth gorph yr Iesu. Ac a deuth
*gyffeith Nicodemus hefyt, (yr hwn yn gyntaf a ddeuthei
‡punt at yr Iesu o hyd nos) ac a dduc * gymysc o myrr
*aiudot ac Aloes, yn-cylch cant ‡ poys. Yno y cymersont
gorph yr Iesu, ac ei * rhwymesont mewn llieinie
a'r aroglae, megis y mae yn arver gan yr Iu-
ddeon ar gladdy. Ac yn y van lle crogesit yr Ie-
su, ydd

yn y lle yr oedd ‡ gardd, ac yn yr ardd * monwent newydd, yn yr * hon ny ddodesit dyn erioet. Ac yno y pryd hono y dodesont wy'r Iesu, o achos dydd Darpar yr Iuddaeon, can ys bot y ‡ vonwent yn agos.

‡allan
*bedd
*hwn
‡bedd

## Pen. xx.

Mair Magdalen yn dybot ir bedd, Ac Petr ac Ioan. Y ddau Angel yn ymddangos. Christ yn ymddangos i Mair Magdalen. Ac y'w oll ddiscipulon. Ancrediniaeth a' chyffes Thomas.

A Car y dydd cyntaf o'r wythnos y deuth Mair Magdalen, yn vorae ac y hi eto yn dywyll, * ir vōwent, ac a weles y maen wedy'r dreiglo y ar y ‡ vonwent. Yno y rhedawdd hi, ac hi deuth at Simon Petr, ac at y discipul arall yr hwn oedd hoff can yr Iesu, ac a dybot wrthwynt, Wy a ducesont ymaith yr Arglwydd o'r * vonwent, ac ny wyddam pa le y dodesont ef. Petr yno aeth allan, a'r discipul arall, ac a deuthan ‡ ir vonwent. Ac a redesont ill dau ar vnwaith, a'r discipul arall hwn a ragredodd o vlaen Petr, ac a ddeuth yn gyntaf* ir vonwent. Ac ef a ‡ grymawdd, ac a ganvu y llieiniae wedy'r 'osot: er hyny nyd aeth ef y-mewn. Yno y deuth Simon Petr ar y ol ef, ac aeth i mewn i'r *vonwent, ac a ganvu'r llieiniae wedy'r 'osot, ar ‡ funen a vesei* am ei ben, nid wedy'r 'osot gyd a'r llieiniae, anid wedy'r blygy ynghyt mewn lle

Yr Euăgel ar die Pasc
*at y bedd
‡bedd
*bedd
‡at y bedd
*at y bedd
‡oglwyddawdd
*bedd
‡voles
*ar

*wrtho y hun
‡at y bedd

*o'r neilltuy. Yno ydaeth y mewn y discipul arall
hefyt, yr hwn a ddeuthei yn gyntaf ‡ir bonwent,
ac ef ei gwelawdd, ac a gredawdd. Can ys yd hyn
ny's gwyddent vvy yr Strythur, y byddei raid
yddaw gyfody drachefn o veirw, A'r discipulon
aethant ymaith y'w cartref ehunain.

*ymogwyddodd, ymgrymodd
‡mewn gwynion ddillat
*ar llall
‡pa wylo ydd wyt?
*yn llwyr

A' Mair oedd yn sefyll allan wrth y bedd yn wy-
law: ac val yr oedd hi yn wylaw, hi a *ymostyn-
gawdd ir bedd, ac a welas ddau Angel ‡yn-gwy-
nion, yn eistedd vn wrth y pen, * ac arall wrth y
traet, lle dodesit corph yr Iesu. A' dywedesont wr-
thei, Ha wreic ‡ paam yr wyly? Dywedawdd hi
wrthynt, Wy a gymersont ymaith vy Arglwydd,
ac ny wn p'le y dodesont ef. Gwedy dywedyt o hon-
nei val hyn, hi a ymchwelodd * trach hi chefn, ac
a welawdd yr Iesu yn sefyll, ac ny wybu mai yr
Iesu ydoedd. Dywedyt or Iesu wrthei, A-wreic,
pa wylo ydd wyt? pwy ddwyt yn ei geisio? Hi-
yn tybiet ‡ mai'r garddwr oedd ef, a ddybot wr-
thaw, * Arglwydd, a's ti y ‡ duc ef ymaith, dywed
i mi p'le y dodeist efe, a' mi y dugaf e ymaith. Dy-
wedyt yr Iesu wrthei, Mair. Hithe a ymchwe-
lodd, ac a ddybot wrthaw, Rabboni, yr hwn yw
oei ddywedyt, *Athro. Dywedyt o'r Iesu wrthei,
Na chyffwrdd am vi: can na'd escēnais i etwa at vy-
Tat, eithr dos at vy-broder, a' dywet wrthyn, Es-
cennaf at vy-Tat i, a'ch Tat chwi, ac at vy-Duw
i, a'ch Duw chwi. Daeth Mair Magdalen ac
a venagodd ir discipulon weled o hanei yr Argl-
wydd, a' dywedyt o hanaw y pethe hyn‡ wrthei.

‡taw gerddyd, llanwr
*Clwr, Hawr, Syra
‡cymerth
*Dysciawdr

‡yddi

*Yr Euangel y Sul cyntaf gwedy'r Pasc.*

¶Y dydd hwnw yn yr hwyr nos yr hwn oedd y

dydd

dydd cyntaf o'r wythnos, ac a'r drysae yn gayad, lle
ydd oedd y discipulon wedy'r ymgynnull rac ofn
yr Iuddaeon, y daeth yr Iesu ac y safawdd yn y
cenawl, ac y dywot wrthwynt, *Tangweddyf y-
wch. A' gwedy iddaw ddywedyt hyn, e ddango-
ses ydd wynt ei ddwylaw, a' ei ystlys. Yno y lla-
wenychawdd y discipulon wrth welet yr Arglwydd.
Yno y dywot yr Iesu wrthwynt drachefyn, *Tan-
gnedyf ywch, megis yd anvones ‡ vy-Tad vyvi,
velly yd anvona vi chwithae. Ac wedy iddaw ddy-
wedyt hyny, ydd anhetlawdd ef ar 'n wynt, ac a dy-
wot wrthwynt * Cymerwch yr yspryt glan. Pwy
bynac y madaeoch ei pechatae, eu maddeuir ydynt
ta'r eiddo pwy pynac yr atalioch, eu a atalijr.

Yno Thomas vn o'r deuddec, a elwit Didymus,
nyd oedd y gyd a hwy pan ddaeth yr Iesu. Dywedyt
o'r discipulon eraill gan hyny wrthaw, Gwelsam
yr Arglwydd: ac yntef a ddywot wrthyn, * Any
welaf yn ei ddwylo ol ‡ y cethri, a' dodi vy-bys yn
ol y cethri, a' dodi vy llaw yn eu ystlys, * ny's cre-
dwyf i ddim.

Ac ‡ ar ben wyth diernot drachefyn ydd oedd eu
ddiscipulon y mewn, a' Thomas y gyd a hwy.
Yno dywot o'r Iesu a'r drysaw yn gayad, a' sefyll
yn y cenol, a' dywedyt, ‡ Tāgnedyf ywch * Gwedy
y dywot ef wrth Thomas. Dod dy vys yma, a'
gwyl vy-dwylo, ac esten dy law, a' dod yn vy ysty-
lys, ac na vydd ancrededyn amyn creddyn. Yno
yr atepawdd Thomas, ac y ddywot wrthaw, Ys ti
yw vy Arglwydd, a'm Duw. Yr Iesu a ddywot wr-
thaw, Thomas, can yty vy-gwelet, y credaist.

*Heddwch
‡Heddwch
*vynhad
‡derbynwch
*ar eino
*Yr Euangel ar ddie gwyl Thomas.*
* O ddieithr i mi welet
‡yr hoelion
*Nys bydd i mi gredu
‡gwedy
*perfedd
‡Heddwch
*Yn ol hyn
‡anffydlon

Ys

Ys gwynbydedic yr ei ny welsant, ac a gredesant.

A'llawer hefyt o arwyddion eraill a wnaeth yr Iesu yn-gwydd ei ddiscipulon, a'r nyd yw yn yscrivenedic yn y llyfer hwn. Eithyr y pethe hyn a escrivennir, val y credoch mai'r Iesu yw'r Christ Map Duw, ac y chwi gan gredu gaffael bywyt trwy y Enw ef.

## Pen. xxj.

Christ yn ymddangos yw ddiscipulon drachefyn. Ef yn gorchymyn i Petr yn ddirfing ac o brysur borthi y ddeveit. Ef yn ei rubuddiaw ymlaen o ei varwolaeth. Ac am mo ryw wyrthias Christ.

GWedy'r pethe hyn yr ymddangosodd yr Iesu drachefyn yw ddiscipulon wrth vor Tiberias: ac velhyn ymddangosawdd ef. Yr oedd yn-ghyt Simon Petr, a'Thomas, yr hwn a elwit Didymus, a Nathanael o Cana yn-Galilaia, a' meibion Zebedaius, a' dau eraill o'i discipulon. Simon Petr a ddywawt wrthynt, Mi af i pyscota. Wythe a ddywedesont wrthaw. A'ninne awn gyd a thi. Wy aethant ymaith, ac a escenesont i'r llong eb oludd, a'r nos hono ny ddaliesont vwy ddim. Ac yr owon wedy dyvot y boreu, y savawdd yr Iesu ar y'lan: ny wyddiat *hagen y discipulon mai y ve oedd yr Iesu. Yno y dywot yr Iesu wrthynt

*ar hyny

Ha

Ha *wyr a oes genwch ddim ‡bwyt? Atebesont iddo, Nag oes. Yno y dywot ef wrthynt, Bwriwch allan y rhwyt y tu deheu i'r llong, a chwi a gewch. Wrth hyny y bwriesont allan, ac nyd oeddent ddim abl yw thynu, gan *liaws y pyscot. Am hyny y dywot y discipul yr hwn oedd yr Iesu yn ei garu, wrth Petr, ‡Yr Arglwydd yw ef. Pan glybu Simon Petr may'r Arglwydd oedd ef, yntef a wregysodd ei *huc (can ys ydd oedd ef yn noethlymyn) ac y ‡bwriodd y hun ir mor. Eithyr y discipulon eraill a ddaethant mewn llong (can nad oeddent pell y wrth y tir, anyd yn-cylch dau cant cubydd) ac a dynnesant y rhwyt a'r pyscot. *A' chygynted y daethant ir tir, y gwelsant varwor yn, a' physcodyn wedy ddody arnoddynr, a' bara. Yr Iesu a dywot wrthyn, Dygwch beth o'r pyscot, y ddaliesoch yr owrhon. Simon Petr a ‡escennawdd ac dynnodd y rhwyt i'r tir, yn llawn pyscot mawrion, *cant a' thri ar ddec a daugain: a'chyt bot ‡cynniuer, er hyny ny ddryllioð y rhwyt. Yr Iesu a ddywot wrthynt, Dewch a' chyniewch. Ac ny veiddiawdd yr un o'r discipulon ymofyn ac ef, Pwy yw ti, ac wy yn gwybot may'r Arglwydd oedd ef. Yno yr Iesu a ddaeth ac a gymerth vara, ac a roes yddynt, a' physcot yr vn modd. Llyma'r owrhon y drydedd waith yr ymddangosawdd yr Iesu y'w ddiscipulon, gwedy yddo adgyvody o veirw.

Yno gwedy yddyn giniawa, yr Iesu a ddywot wrth Simon Petr, Simon ap Iona, A gery di vi yn vwy na rhein? Ef a ddywot wrthaw, ‡Do Arglwydd, tu wyddost y caraf i di. Ef a ddywot

wrthaw,

*bechein, bebion
‡enllyn
*Treilliwch
*rac meint
‡Pai ir arglwydd oedd
*hucyn, bais
‡neitiodd, a gymerth y naw yn y
*Ac er
‡neitiodd
*tri ardec a saithugain
‡cymmeint
*rwygodd
‡Caraf

wrthaw, ‡ Portha vy wyn. Ef a dybot wrtho dr chefyn yr ail waith, Simon 'ap Jona a gery di Ef a dyuot wrthaw, * Do Arglwydd, tu wydd y caraf i di. Ef a ddybot wrthaw, Portha vy deueit. Ef a ddyuot wrthaw y drydedd waith, Simon 'ap Jona, a geri di vi. ‡ Tristau a wnaeth Petr o bleit ydd o dywedyt wrthaw y * drydedd waith, A gery di vi: ac a ddyuot wrthaw, Arglwydd, tu a wyddost bop peth oll! tu wyddost y caraf di. Yr Jesu a ddyuot wrthaw, Porth vy deueit, Yn wir, yn wir y dywedaf y-ty, Pan oedyt yn ieuanc, tu a ymwregysyt, ac a rodut lle mynyt eithr pan * vych hen, ti a estendi dy dwylo, ac arall ath wregysa, ac ath ‡ arwein lle * nyd ir wyllysych. A' hyn a ddybot ef, yn arwyddocau gan pa angae y gogoneddei ef Dduw. A' gwedy yddo ddywedyt hyn, y dybot wrthaw, ‡ Dilin vi. Yno y troes Petr y amgylch, ac a welawdd y disgybl oedd yr Jesu yn ei garu, yn dilin, yr hwn hefyd a roesei ei bwys ar y ddwyfron ef ar swper, ac a ddywedesei, Arglwydd, pwy 'n yw hwn ath vradycha di? Can hynny pan welawdd Petr * hwn, y dyuot ef wrth yr Jesu, Arglwydd, pa beth a wna hwn? Yr Jesu a ddyuot wrthaw, A's mynnaf iddo aros y 'n y ddelwyf, beth 'sy y ti? ‡ Dilin di vi. Yna ydd aeth y gair hwn ym-plith y broder, na bydde varw y discipul hwnw. Ac ny ddywedesei 'r Jesu wrthaw, Ny bydd ef varw: eithyr A's mynnaf iddo aros y 'n y ddelwyf, beth 'sy y ti? Hwn yw 'r discipul hvvnvv ys ydd yn testolaethu am y pethe hyn, ac a escribennodd y pethe hynn, a' gwyddam bot y testolaeth

‡ Pasc, Bwyda
* Caraf
‡ Prydern
* dairgwaith
* heneidych
‡ tywys
* ny mynych
‡ Canlyn
* ef
‡ canlyn

[..]tholiaeth ef yn wir. Ac y mae hefyt llawer o pe-
thae eraill ar a wnaeth yr Iesu, yr ei pe yd yſcri-
vennit vvynt * eb-ado-vn, tybiet ydd wyf na's ga-
llei'r oll byt ‡ amgyffret y llyfreu a eſcrivennit.
Amen.

*bop vn
‡gynwys, dderbyn

# *Actae y Sainct Apostolon wedi'r eſcriveny ‡ y gan S. Luc Euangelwr.

*Gweithredoedd
‡o

# YR ARGVMENT.

CHriſt, gwedy ei eſcenniat, a gwplaodd ei addeweidion y'w Apoſtolieit, ac a dannonawdd yddwynt yr Yſpryt glan, gan ddangos wrth hynny, nad oedd ef yn vnic yn vedyr am ei Eccleſ, anyd hefyt y byddei yn ven arnei, ac yn gynnaliwr yddei yn dragyvyth. Yn yr hyn hefyt yr ymddengys y alluawc veddi[a]nt ef, yr hwn, cyd bot i Satan a'r byt wrthladd yn vwyaf [a] allent y gwaith arddercha wc hyn, er hyny trwy ychydic o [w]yr *ſyml digymeriat, e a gyflanwodd yr oll byt a ſon ei E[u]angel. Ac yma yn-dechreu yr Eccleſ, ac yn ei chynnyddiat, y gallon ddyally yn eglaer y gwaith a'r malis y arverei Sa[t]an yn waſtat y dareſtwng, ac y drancwyddo'r Euangel: efe [a] gyfot vrad, a' chynllwyn, cyffro, ac ymlid, ſclandr a' phop [r]yw greulonedd. Trachefn, ni a gawn weled yma rhacluniaeth Dew, yr hwn a ddymchwyl arvaethae ac amcaneu ei [g]elynion, ac a ymwared ei Eccleſ y rhac cyndaredd y ‡trawſ[a]rglwyddwyr, e a nerthe, ac y ariala yr ei ydd ef yn ddewr-

*gvvirian
‡gormeſieit

gawdd ynaw blwyddyn ac chwech mis, gan dyscy yddwynt gair Dew yn ei plith.

Yn awr pan oedd Gal-lio yn *Raglaw yr Achaia, y cyvodes yr Iuddeon o vnvedwl en erbyn Paul, ac ei ducesont ir *brawdle, gan ddywedyt, Y mae yr dyn hwn yn annoc y dynion y addoli Dew yn erbyn y Ddeddyf. Ac val ydd oedd Paul ‡ar gyn=gyt y agory ei enae, y dyvot Gallio wrth yr Iudd=aeon, Petei am vvneythy'r cam, ai drucweithred, a Iuddeon, erwydd ‡rheswm eich gwrandawn: eithyr a's *gorchest yw am ymadrodd, ac enwae, ac o eich Deddyf, edrychwch eich hunain arnavv: can na bydda vi ‡brawdwr ar y pethae hynny. Ac ef y gyrawdd hwy ywrth y brawdle. Yno y Groegwyr oll a gymersont Sosthenes yr Arch=synagogwr, ac ei baeddesont ger bron y brawdle: ac nid oedd Gallio yn *gofaly am ddim o'r pethae hynny. Ac wedy i Paul aros yno rac llaw niver da o ddydiae, ef a ganawdd yn iach ir broder, ac a vordwyawdd i Syria (ac cyd ac ef Priscilla ac Aquila) gwedy iddaw ‡gneifio ei benn yn Cen=chrea: can ys eiddunet oedd ganthaw. Yno yd aeth ef i Ephesus, ac y gadawdd wynt ynaw: ac ef e aeth y mywn ir Synagog ac a ddadleuodd a'r Iuddaeon. Ac wy ddeisyfesont arnaw aros y gyd ac wynt amser a vei hwy ac ny chydsynniawdd ef, a nid cany yn iach yddwynt, gan ddywedyt, Y mae yn *angenrait i mi gadw ‡yr wyl hon'sy yn dyvot yn-Caerusalem: eithr mi ymchwelaf atoch drachefyn, *gyd ac ewyllys Dew. Ac velly yr hwy liawdd ef o ywrth Ephesus.

*ddeputi
*'orsedd
‡aibryd
*o, chwi
‡iawnder
*ymofyn, question
‡barnwr
*pryderu
‡eillio
*ddir
‡y ffest
*as da gan Dew

A' phan descenawdd ef y Caisareia, ef a escennodd y vyny y Caerusalem, ac wedy iddaw * gyfarchgwell ir Eccles, e ddescennawdd i Antiocheia. Ac wedy iddo drigo ynavv ‡ aincan o amser, ef aeth ymaith, gan orymddeith drwy Galatia ac Phrygia * erwydd cylchdrefn, gan gadarnhay yr oll discipulon. Ac nebun Iuddew, Apollos ei enw, a'r a anesit yn Alexandria, a daeth i Ephesus, gvvr ‡ hyawdyl a' nerthawc yn yr Scrythurae. Hwn oedd wedy ei addyscy ar ffordd yr Arglwydd, ac a ymbladdanawdd yn * brwd yn yr yspryt, ac a ddyscawdd yddvvynt yn ddiyscaelus bethae yr Arglwydd, ac yn wybyddiat amyn Batydd Ioan yn unic. Ac ef a dechreawdd ymadrodd yn ‡ hyf yn y Synagog. Yr hwn pan glywsant Aquila ac Priscilla, wy y cymersont ef atwynt, ac a esponiesont iddaw ffordd Ddew yn * berffeithiach. Ac pan ydoedd ef yn bryt ar vynet i Achaia, y broder yn y annoc ef, a yscribenesont at y discipulon y ew dderbyn: ac wedy ydaw ddybot yno, ef gymporthodd yn vawr yr ei a gredesynt drwy ‡ 'rat. Can ys * argyhoeddodd ef yn ddirving yr Iuddaeon, ar 'oyttec yn drachchwyrn, can ddangos wrth yr Scrythurae, mae Iesu oedd y Christ.

*ymanerch a'r
‡ enhyd
*wrth, yn ol trefn
‡trwyadl, ffraeth
*ddirfing
‡eon
*vanylach, bebyrach
*'ras
‡gorfu

## Pen. xix.

Roddy yr Yspryt glan trwy ddwylaw Paul. Yr Iuddaeon yn caply y ddysceidaeth ef, yr hwn a gadarnhawyt trwy wyrthiae. Chwedlev a' * chyffwyad y consurwyr, a'r [illegible] a ddaeth y wrth hyny. Demetrius yn peri terfysc o blaid Diana.

*phoenedigaeth
‡escus, liw

dinas. A^o. Dew eisoes yn ymwared yr ei yddaw ef, ac yn heddychy trwy yscoleic y dinas.

AC e ddarbu, tra ytoedd Apollos yn Corinthus, bot i Paul dynet trwy y parthae gorucheliō, a dybot i Ephesus, a' chavel rhyw ddiscipulon, a' dywedyt wrthwynt, A dderbyniesoch yr yspryt glā er pan gredesoch? Ac wy theu a ddywedesont wrthaw, Ny wnaetham ni cyneint a chlywet a oes yspryt glan. Ac ef a ddywot wrthwynt, Erwydd pa beth gan hyny eich batyddiwyt? Ac wynt wy a dywedesont, Ervvydd batydd Joan. Yno y dywot Paul, Joan yn ddiau a batyddiodd a batydd edifeirwch, can ddywedyt wrth y popul, bot yddwynt credy * yn hwn a ddelei ar y ol ef, ys ef yw hyny, yn y Christ Jesu. Ac wedy yddwynt glywet hyny, wy batyddiwyt yn Enw yr Arglwydd Jesu. Ac wedy gesot o Paul ei ddwylaw arnaddynt ydaeth yr Yspryt glan arnynt, ac yr ymadroddesont dafodae, ac y prophwytesant. A'r oll wyr ytoedd ‡ yn-cylch dauddec.

*ir

‡ilwes, amgylch

Yno ydd aeth ef y mewn ir Synagog, ac yr ymadroddawdd yn eon dros dri-mis, gan * ddisputo ac annoc ir hynn a perthyn i deyrnas Dew. Eithyr pan ytoedd yr ei wedy ei caledy ei calonae, ac ny ‡ chredent, gan ddrwcddywedyt am ffordd yr Arglvvydd, ger bron y lliosogrwydd, e dynnawdd ymaith y wrthwynt, ac ef a ddidoloddd y discipulon, gan disputo beunydd yn yscol neb vn Tyrannus. A hynn a wna-

*resymy, ymddadle

‡vfyddahēt

‡blwydd a wnaethpwyt yspait dwy ‡ blynedd, yn y buy
*gair bawp oedd yn trigiaw yn Asia, glywed *ymadrodd
yr Arglwydd Jesu, yr ys Judeon hvvy a'r Groecit.
‡biraclae Ac Dew a weithredawdd ‡ wyrthiae nid *byche-
*bachain digion trwy ddwylaw Paul, yd pan ducit y wrth
‡bolede y gorph ef ir cleifion, ‡ gwrsie nai napcynae, ac
ymady or clefydae y wrthwynt, a' mynet yr yspry-
tion drwc allan o hanwynt. Yno bot i rei or Ju-
ddaeon crwydrait, consurwyr, gymeryd arnwynt
*alw *enwi uch pen yr ei oedd yn perchenogion y spryti-
on drwc, Enw yr Arglwydd Jesu, gan ddywedyt,
‡can Ydd ym ich consurio ‡ trvvy yr Jesu, yr hwn *a pre-
*y mac. &c. cetha Paul. (Ac ydd oedd ‡ nep meibon Sceva
‡rryw. Juddew, yr Archoffeiriat, yn cylch saith oedd yr ei
a wnaent hynn.) A'r yspryt drwc a atepawdd, ac
a ddywot yr Jesu a gydnabyddaf, ac Paul a ad-
*pwy waenaf: anid pwy *yty-chwi? A'r dyn ydd oedd yr
yspryt drwc yntaw, a gyrchawdd arnwynt, ac ei
‡meistrolodd ‡gorchvygawdd, ac a *orthrechodd yn y herbyn
*'orfu wy, yn y ‡chilieſont allan or tuy, yn noethion ac
‡ffoesont yn *glwyfedic. A' hynn bu hynot gan yr oll Ju-
*briwedic, ddaeon a'r Groecwyr hefyt, a'r oedd yn preswyli-
archolledic aw yn Ephesus, ac e ddygwyddawdd ofn ar bawp
o hanwynt, ac Enw yr Arglwydd Jesu a bawr-
hawyt. Ac llawer o'r ei oedd yn credy, a ddaethant
ac gyffesasont, gan ddangos ei gweithredoedd.
Llawer hefyt o'r ei oedd yn arver o gelfyddodae
*gowml *manolwaith, a dduc-sont ei llyfrae, ac ei llosge-
sont yn-gwydd yr oll popul, ac wrth gyfrif ei gwe-
‡dec mil a rth, ei cahad yn gyvverthydd pemp myrdd o vathr ari-
daugain ant. Velly mor gadarn y tyfawdd gair Dew, ac y

ymgrysaodd.
Yn awr wedy cyflawny hynn yma, y propasodd
Paul trwy'r yspryt teithiaw trwy Macedonia ac
Achaia, a' mynet i Caerusalem, can ddywedyt,
Gwedy bwyf yno, rhait i mi hefyt welet Ruuain
Yno yd anvones ef i Macedonia ddau o'r ei oedd
yn ei weini, sef Timotheus ac Erastus, ac ef e a
arhoes yn Asia dros amser. Ac yn y cyfamser hyny
y cyfodes cythrwbyl nyd bychan o bleit y ffordd ho-
no. Can ys ‡neb gwr ai enw. Demetrius, gof
ariant, yr hwn a wnai deimplae ariant Diana, yr
hwn oedd yn peri elw nyd bychan ir crefftwyr: Yr
ei wedy iddo ei galw ir vn-lle, y gyd a gweithwyr
y cyfryw bethae, a' ddybot, Ha-wyr, ys gwyddoch
may wrth y gwaith hwnn y perir *caffaeliat y ni.
Pellach chwi welwch ac a glywch, pan yw nad
yn vnic yn Ephesus, anid can mwyaf trwy'r oll
Asia yr annoches, ac y traws droses y Paul hwnn
lawer o popul, gan ddywedyt, Nad ynt wy dde-
wiae'r rei wnelir a dwylaw. Yd nad yw yn vnic bot
y rhann hyn yn periclus y ny ni, rac argyhoeddy y
cymeriat, eithyr hefyt rac bot am deimpl y vawr dde-
wies Diana ei diystyry, a' rac dybot hefyt destryw
ar vawrhydi hon, y mae'r oll Asia a'r byt yn hi
addoli. A' phan glywsant wy hynn, yr oeddent yn
llawn digofeint, gan ddolefain, a' ddywedyt, ‡ Ys
mawr Diana yr Ephesiait. A'r oll ddinas a gyf
lawnwyt o wradwydd, a' rhuthraw a wnaethant
ir *orseddfa o gytundab, a' dalha Gaius, ac Ari-
starchus, Macedonieit, a' chyd-ymddeithion
Paul. A' phan ytoedd Paul yn ewyllysio mynet y

*grymiodd, 'orvu
‡rhyw wr
*ced
‡Asia
‡Mawr yw
*gymynfa

mewn ymysc y popul, ny's gadawdd y discipulon
yddaw. A'r ei hefyt o pendevigion Asia a'r oeddent
yn *gereint iddo, a ddanvonesont atav, gan ddei-
syfy arnaw na'd ‡ymddangosei yn yr 'orsedfa. Y-
ei wrth hyny a lefent vn-peth, ar ei peth arall.
Can ys y gynulleidfa oedd eb drefn, a'r chan mwyaf
ny wyddent o bleit pa beth yd aethent yn-cyt. A'r
ei o'r tyrfa a luscesont canthwynt Alexander, a'r
Iuddaeon yn ei wthiaw racddaw. Yno Alexan-
der a amneidiodd a * llaw, ac a vynesei escusodi
y peth wrth y popul. Eithyr pan wybuont may
Iuddew oedd ef, cody a wnaeth ‡ ymlefler dros
yspait dwy awr hayachen, gan bawp yn llefain,
Ys mawr Diana yr Ephesieit. Yno *yscolheic y dinas
gwedy iddo lonyddy'r popul, a ddyvot, Ha-wyr y
Ephesieit, pa ddyn 'sydd ny wyr bot dinas yr E-
phesieit yn addolydd y vawr ddewies Diana, a'r
ddelvv, a descenawdd y wrth ‡Iupiter? A'r chan na
ddygon nep ddywedyt yn erbyn y pethae hyn,
iawn i chwy ‡ymlonyddy, ac na wneloch ddim yn
wyllt pwyll. Can ys dugesoch yma y gwyr hyn,
yr ei nid ynt na themplherwyr nac yn caply eich
dewies. Erwydd paam ad oes gan Demetrius na
'r crefftwyr y'sy gyd ac ef vn hawl yn erbyn neb, y
mae cyfraith yw chael, ac may Raglawyeit: ym-
cyhuddant y gylydd. Eithyr ad ywch yn ymofyn
dim am bethae ereill, ei tervenir mewn * cynnyn-
fa gyfreithlawn. Can ys in perycli rac ein ‡ar-
gyhoeddy am y dervysc heddyw, erwydd nad oes
vn achos y gallwn roi rheswm am * y cynnired hyn
o'r popul. Ac wedy iddo ymadrod velly, y ‡ im-
ddeuawdd

*garedigiõ
‡ymroddei
*ei law
‡decay
‡gawr,
bloeddio
*yr yscrive-
nydd
‡Iou
‡ynvoddlo-
ny, chwarse-
any
*difenwy
*cynnull-
eidfa
‡cuhuddo
*cynniswelr
‡gellyngod

ddeuawdd ef y gymunfa ymaith.

## Pen. xx.

Paul yn mynet i Macedonia ac i * Grecia. Ef e yn arlwy fwper yr Arglwyd ac yn precethy. Yn Troas y mae ef yn gyfodi Eutychus. Yn Ephesus y mae ef yn calw Henafiet yr Eccles ynghyt, yn gorchymyn ceidwadigaeth deuait Dew yddwynt, yn ei rhybyddio rac gau ddyscyawdwyr, yn cydwediaw ac wynt, ac yn myned mewn llong tu a Caerusalem.

A C wedy darvot yspeidiaw or derfysc, y galwodd Paul y discipulon ataw, ac y * cofleidiawdd hwy, ac y cynnawdd ymaith y vynet i Macedonia. Ac wedy iddaw vynet, trwy y parthae hyny, a'ei h'annoc drwy lawer o ymadrodd, yd aeth ef i dir Groec. Ac yn ol trigio ynavv dri-mis, trwyd bot ‡ cynllwyn iddo gan yr Iudeon, val yd oedd ymei bryd vordwyo i Syria yr * oedd ef yr vedr ddadymchwelyt trwy Macedonia. A'chyd-ymddaith ac ef hyt Asia a wnaeth Sopater ‡ y Beroiat, ac or Thessaloniceit, Aristarchus, ac Secundus, ac Gaius Dderbaiat, ac Timotheus, ac or ei or Asia Tychicus, ac Trophimus. Yr ei hynn aethent o'r blaen, a'n aros a wnaethant yn-Troas. Ac ninen a vordwyesam ymaith y wrth Philippi, yn ol dyddie yr bara * croiw, ac a daetham atwynt i Troas yn-pemp diernot, lle yr arosaim saith dydd. A'r dydd cyntaf or ‡ wythnos a'r discipulon wedy dyvot yn-

*dir Groec

*breichlwyws

‡bwriad, brad.

*arvaethodd

‡o Veroia

*cri, croiw

‡Sabbatorum

cyt y *ddryllio bara, y precethawdd Paul ydwynt, ac ef ar vynet ymaith dranoeth, ac a barhaodd yn precethy y dan hanner nos. Ac ydd oedd ‡llucernae lawer yn-gorucch-ystafell, lle ydd *oeddent wedy'r ymglascy yn-cyt. Ac eisteddawdd mewn ffenestr ‡neb gwas ieuanc a'ei enw Eutychus, wedy *pwyso mewn trwmgwsc: ac val ydd oedd Paul yn hir precethy, ef e yn 'orthrwmedic gan hunaw, a ‡dygwyddodd i lawr o'r trydydloft, ac a godwyt y vyny yn varw. Ac Paul a ddescennawdd, ac a orwedawdd arnaw, ac ei cofleidiawdd, gan ddywedyt, Na chyffroet arnoch: can ys y mae ei *enait yntaw eto. Velly yn ol escen y Paul drachefn, a ‡dryllio bara, a' bwyta peth, ef a hir ymddiddanawdd yd ar glais y dydd, ac yno yd aeth *ymaith. Ac wy a dducesont y bachcen yn vyw, ac wy ddiddanwyt yn ‡ddivesur.

Yno y'r aetham ymaith ir llong, ac ir hwyliesam i ddinas Assos, er mwyn bot i ni dderbyn Paul yno: can ys velly y daroedd yddo * arvaethy, a' mynyd ‡ bot ehun yn peddit. Ac wedy y ddyvot ef atom y Assos, ac i dderbyn o hanam, yd aetham i Mytelenes. Ac mordwyaw a wnaetham o ddyno a' dyvot tranoeth *ar gyf-or Chios, a' thranoeth y tiriesam yn Samos, ac a drigesam yn Trogillium y dydd nesaf yd aetham i Miletum. Can ys darvoe i Paul amcanu mordwyaw eb law Ephesus, ... wydd na vynnai dreuliaw amser yn Asia: can ys ‡ brysiaw ydd oedd, a's bai possibil iddaw, y vot yn-Caerusalem, y dydd * Pentecost.

Erwydd pa ble it, o Miletum yd anvonodd ef y Ephesus

*dori
‡canwyllae oeddent
‡rryw wr
*syrthio
‡syrthiodd, gwympodd
*bywyt
‡thorri
*y gerddet
‡anvesdrol, ddirvawr
*bwrpasy
‡myned ar ei draet
*gyferbyn
‡ffryssiaw
*Sulgwyn

Ephesus, ac y galwodd am Henafiait yr Eccles. Yr
ei pan ddaethant ataw, ef a ddyvot wrthwynt,
Chwichwy wyddoch o'r dydd cyntaf yd aethym i
Asia, pa wedd y bum gyd a chwi pop amser, yn go-
asonaethy yr Arglwydd gyd ac oll gestyngeidd-
rwydd-medddwl, a' llawer daigr, a'* phrovediga-
ethae, yr ei a ddescenesont y mi gan ‡ gynllwyne
yr Iuddaeon, ac val na 'ommeddeis ddim ar oedd
*gyfles, amyn ei vanegy ychwy, a'ch dyscy ‡ yn
'oleu, ac ar hyd pep tuy, gan testiaw ys ir Iu-
ddaeon, ac ir Groecwyr, yr ediveirwch tu ac at
Ddew, a ffydd * ar ein Arglwydd Iesu Christ.
Ac yn awr wele, vy vi yn rhwym yn yr yspryt yn
myned i Gaerusalem, eb wybot pa beth a dderbydd
ymy-ynthei. Anid bot yr Yspryt glan yn testiaw
yn-pop dinas, gan ddywedyt, bot rhwymae a'
blinderoedd yn vy aros. Eithyr nad wy vi yn gw-
neythy dim devnydd, ac nid oes genyf vy ar ‡ vy-
bywyt vyhun, a's gallaf 'orphen* vy-cerddet gyd a
llawenydd, a'r gweinidogaeth yr hwn a dderby-
niais y gan yr Arglwydd Iesu, y destolaethy E-
vangel* rat Dew. Ac yr awrhon wele, mi 'wnn
pan ywo hynn allan na bydd ychwi ‡ bawp, trwy
yr ei y cerddais gan praecethy teyrnas Dew, we-
led vy wynep mwyach. Erwydd paam eich galwaf
yn testolaeth y dydd heddyw, vy-bot i yn 'lan y
worth waet pawp oll. Can na childynnais i ddim,
rac dangos ychwy oll gyccor Dew. * Edrychwch
gan hyny arnoch eeich hunain, ac ar yr oll dde-
vait, ar yr ei y gwnaeth yr Yspryt glan chwi yn
Olygwyr, i ‡ borthy Eccles Dew, yr hon a bwr-
casodd

*themtasi-one
‡bwriade
*buddiol ywch
‡ar osstec
*yn, tuac at
‡bywenioes
*vy-gyrfa
*gras
‡oll
*Gwiliwch
*Escopion
‡vwydo, lywodraethy

casodd ef a ei brawt waet. Can ys mi a wn hyn, yn ol vy mynediat, y daw bleiddiae trymion, yn eich plith, eb eiriach y devait. Eb law hynny, o hanoch eich hunain y cyvyd gwyr a adroddant bethae trawsion, y dynny discipulon ar ei hol. Am hyny gwiliwch a' meddyliwch, pan yw tros yspait tair blynedd na pheidiais i a rhybyddio pop vn, dydd a' nos a daigrae. Ac yr awrhon broder, eich gorchymynaf i Dduw ac i air y rat ef, yr hwn ys ydyw abyl y adeiliat angwanec, a'rhoi y chwy ‡etiuedd aeth ymplith yr oll rei, ysydd wedy ei sancteiddio. Ariant neu aur nai gwisc nep ny chupyddais. *Ac chwychwi a wyddoch, bot i'r dwylo hynn arweini im angenreidiae, ac ir ei oedd gyd a mi. Yr oll bethae a ddangoseis y-chwy, p'odd gan weithiaw velly, y dylech gynnal y gweiniaid, a' choffa geiriae yr Arglwydd Iesu, can yddaw ef ddywedyt, Gwynvydedic yw roddy yn hytrach no derbyn. Ac wedy yddo ddywedyt hyn, y ‡gestyngawdd ar ei 'liniae, a' gweddiawdd y gyd ac wynt oll. Yno yr wylesont wy oll yn ddirvawr, ac y rhuthresont ym-mwngl Paul, a ei gyssany, gan ymovidio yn bennaf o bleit y gairiae a ddywedesei ef, Na chaffent vvy welet y wynep e mwyach. Ac vvy ei cynhebryngesant i'r llong.

*parri, gyrr
‡tre tadeth
*Je, Ys,
‡beri, wasanaethy
*penlinodd

## Pen. xxj.

5 Gweddi gyffredin y ffyddlonion. 8 Pedair merchet Philip yn prophwytesse. 23 Dyvalder Paul yn dwyn y groes, bal y rhacddybot Agabus ac eraill, cyd boed ei gyghor yn amgenach

genach gã y broder. 28 Y dirvawr pericul y bu ef yntha w, a'pha vodd y diangawdd.

A'Gwedy, daroedd y ni ddiangori, ac ymady ac wynt, ni a *ddaetham yn vnion-gwrs i ynys Coos, a'r dyð nesaf i Rodos, ac o ddyno i Patara.

2 A' gwedy i ni gahel llong y elei trosodd i Phoinice, ni aetham iddi, ac a hwyliesam ymaith,

3 A' gwedy ymddangos o ynys Cyprus, ni hei gadasam ar y llaw aswy, ac a hwyliasam tu a Siria, ac a diriasam yn-Tyrus: o bleit yno y dilwythwythwyt y llong.

4 A' gwedy i ni gaffael discipulon, nyni a drigesam yno saith diernot. Yr ei y ddywedesant i Paul trwy 'r yspryt, nad elei i vynydd i Caerusalem.

5 Ac yn ol ‡ gorphen yr dyddiae hyny, ni a dynnasam, ac aetham ymaith, ac wynthvvy oll a'ei gwragedd a'ei plant an hebryngesant yd yn yd aetham allan o'r dinas: ac estyngesam ar ein gliniae ar y lann ac a weddiasam.

6 Ac wedy daroedd y ni * ymgydgyfarch, yr aetham ir llong, ac wynteu ymchwelasant adref.

7 Ac yn ol i ni gorphen hwyliaw o ywrth Tyrus, y ‡ descenasam yn Ptolomais, ac a gyfarchasamwell ir broder, ac a drigesam vn diernot y gyd ac wynt:

8 A' * thranoeth, Paul a'r ei oedd gyd ac ef, a ‡ daetham i Caisareia: ac aetham y mewn y duy Philip yr Euangelwr, yr hwn ytoedd vn o'r saith * Diacon

* hwyliesam

‡ cwplau

* ymgredigaw, ymgofleidiaw, ymbreichei-do, canu yn iach, ymanerch

‡ diriasam

* thradwy

‡ ddaethant

* Gwenidog

acon, ac a arosam gyd ac ef. 9 Ac iddaw ydd oedd pedeir merchet o * wyryfon, yn prophwyto.

*vorynion

10 Ac mal ydd oeddem yn aros yno lawer o ddydiae yd aeth atam nep propwyt o Iudaia, a ei enw yn Agabus.

‡trryw, vn

11 A gwedy iddo ddybot atam, e cymerth wregis Paul, gan rwymo ei ddwylo a'i draet ehun, ac a ddybot. Hyn a ddywait yr yspryt glan, Val hynn y bydd ir Iudaeon yn-Caerusalem rwymo y gwr biae yr gwregis hwn, a'i ‡ roddy yn-dwylo y Genetloedd.

‡delifro

12 A' gwedy clywed o hanam hynn yma, ys nyni ac ereill *o dyno a atolygesam iddo nad elei i vyny i Gaersalem.

*or cyfle-wyr

13 Yno ydd atebawdd Paul ac y dybot: Pa wylo a wnewch gã *dori vy-calon? Can ys parawt wyf nid yn vnic i bot vy rhwymo, namyn hefyt i ‡ varw yn-Caersalem *er Enw yr Arglwydd Iesu.

*goddi
‡oddef marwoleth
*er mwyn

14 A' phryt na ellit ‡ troi ei vedd wl, y peidiesam, gan ddywedyt. Poet ewyllys yr Arglwydd a vo.

‡ddianoc

15 Ac yn ol y dyddiae hynn y cymersam ein *beichiae, ac ydd aetham y vynydd y Gaersalem.

*mut, ffar-dial, arche-nad

16 Ac e ddaeth gyd a ni rei or discipulon o Caesareia, ac a dducesont gyd ac wynt vn Mnason o Cyprus, hen ddiscipul, y gyd a'r hwn y lletuyem.

17 A' gwedy ein dybot i Gaersalem, in derbyniawdd y broder yn llawen.

18 A'r dydd nesaf yd aeth Paul y mywn gyd a ni at Iaco: a'r oll ‡ Henafieit oedd wedy yr ymgynnull yno.

‡Henafg-wyr, hene-fyddion

19 A' gwedy iddo ei * cofleidiaw, y managawdd

*gyvarch gwell ydd-ynt

mewn

mewn * dosparth bop peth ar y wnaethoedd oedd Duw ym-plith y cenetloedd drwy y weinidogeth ef.

20 Velly pan glywsant hyny, y rhoddesont 'ogoniant ir Arglwydd, ac y dywetsont wrthaw: * Ys gwely, vrawt, pa niver ‡ miloedd o'r Iuddaeon ys ydd * yn credy, ac y maent oll yn ‡ gwynvydy am y Ddeddyf.

21 Ac wy a glywsant am danat, dy vot yn dyscu yr oll Iuddaeon, ys ydd ym plith y Cenetloedd, ymwrthdot a' Moysen, ac yn dywedyt, na ddlent enwaedy ar ei plant, na byw yn ol y devodae.

22 Pa beth gan hyny 'syd yw vvneythyr? ‡ Dir iawn yw ymgynull o'r dyrva: can ys wy a * glywant dy ddybot.

23 Can hyny gwna hyn yma a ddywedwn wrthyt, Mae genym pedwar-gwyr a wnaethant edunet.

24 Cymer hwynt, a' glanha dy hun y gyd ac wynt, a' thyd gostia a' hwy, yd y n yd eilliant ei pennae: a' gwybot a ‡ gaiff pawp, am y pethae y glywsant am danat, nad ynt dim, eithyr dy vot titheu hevyt yn rhodio ac yn cadw yr Ddeddyf.

25 Can ys * in ac at am y Cenedloedd, ys ydd yn credu, nyni a escrivenesam, ac a ‡ varnesam na bo yddwynt gadw dim cyfryw beth, eithyr * ymoglyt o hanynt rac y pethe 'ry offrymer ir * delwae a' rac gwaet, ac ‡ ymwrth y degir, ac ymwrth godineb.

26 Yno Paul a gymerawdd y gwyr, a' thrannoeth yn ymlanhaodd e y gyd ac wynt, ac ydd aeth y mewn ir Templ, gan ‡ espysy cyflawniat dyddiae yr glanhaat, yd y n y d offrymit offrwm dros bob vn o hanaddvvynt.

27 A' gwedy

*tresn

‡Ti

*Gr. myrddion

*wedy

‡hoffi, at mawr serch ar

‡Rait

*gan glywet

‡gyd a ni

*phurha

‡wna

*herwydd

‡ordinesam, derbynesam

*ymgadw, ymwrthot

‡eidole

*rrac

‡honny, managy, datcan

27 A' gwedy gorphen hayach en y saith diernoc, yr Iuddaeon a'r oeddynt o'r Asia (pan welesant ef yn y Templ) a gynhyrfesant yr oll *popul, ac a ddodesont ddwylo arnaw.

28 Can lefain, Ha-wyr yr Israel cymporthwch: ‡hwn yw'r dyn ys yddyn dyscy pawp ym-pop lle yn erbyn y popul, a'r Ddeddyf, a'r lle yma: eb law hyny, e dduc Groec wyr ir Templ, ac a*halogawdd y lle sanctaidd hwn.

29 Canys gwelesent or blaen yn y dinas gyd ef vn Trophimus o Ephesus, a 'thybiet ‡mae Paul y ducesei ef ir Templ.

30 Yno y cyffrowyt yr oll ddinas, ac y rreddodd y popul yn-cyt: ac a * ymablesont ym-Paul, ac ei tynnesont allan o'r Templ, ac yn y man y caewyt y drysae.

31 Ac val ydd oeddent yn ‡caisio y ladd ef, ymanagwyt i bencaptaen y giwdawt, bot oll Caerusalem * wedy' therbyscy.

32 Ac yn y van ef gymerawdd bilwyr a' Channwriait, ac a redawdd y waeret yd attwynt: a' phan welsant y pen-Captaen a'r * milwyr, wy beidiesont a ‡ baeddy Paul.

33 Yna y daeth y pen-Captaen yn nes ac y daliodd ef, ac a'orchymynawdd ei rwymo a dwy gadwyn, ac a holodd pwy yt oedd ef, a'pha beth a wnaethoedd oedd.

34 A'r ei a lefynt vn peth, ereill beth arall, ‡ymplith y popul. Velly pryd na vedrei ef wybot cyrnodab * rac y dervisc, e 'orchymynawdd ei ‡dywys ir castell.

*werin
‡llyma'r
*gyffredinawdd, ddigyssegrodd
‡taw
*ddaliesont Bawl
‡ar verder
*mewn penbleth
*sawdwyr
‡kusto, curo, taraw
‡yn y dyrfa
*gan
‡arwein

35 A gwedy y ddyvot ef ir ‡ grisiae, e ddarvu y *ddwyn ef gan y milwyr rac* ymffust y dyrfa

36 Canys y dorf popul oedd yn ei ddilit, can lefain, ymaith ac ef.

37 A phan ‡ ddechreuit arwein Paul ir castell, e ddyvot wrth y pen-Captaen, A alla vi gahel *ymddiddan a thi? yr hwn a ddyvot, A vedry di groec?

38 Anyd tydi yw'r ‡ Egyptian, yr hwn o vlaen y dyddiae hynn a gyffroeist dervysc, ac a arweneist ir diffeith yn pedeirmil o wyr * llofryddiawc.

39 Yna y dyvot Paul, Yn ddiau, gwr wy vi o Iuddew, a'dinesydd o Tarsus, dinas nid anenwoc yn Cilicia, ac atolwc yty, godde yny ‡ amadrodd wrth y popul.

40 Ac wedy daroedd iddaw ganiady, y safawdd Paul ar y *grisiae, ac a amnaidiawdd a llaw ar y popul: a'gwedy gwneythy gostec vawr, y llabaryawdd wrthynt yn y tavot Hebreo, gan ddywedyt,

*arwein, ddwyn
‡stair
*trais, chwyrned
‡gychwynit
*chwedlaea
‡Aiphtiwr
*lleiddiaid, adwythawc
‡ymddiddan, chwedlena
*ystayr

## Pen. xxij.

Paul yn datcan hanes ei vuchedd, a'ei ddyscedaeth. 25 Ef e yn dianc rac ei chwipio, o erwydd ei vot yn ddinessydd Rufainol.

HA wyr broder, a'thadae, gwrandewch vy * dadl y wrthyf yr owrhon wrthych.

2 A phan glywsant mae yn y tavot Hebreo ydd oedd ef yn llabaru wrthynt, mwy o'ostec a roddesont, ac ef ddyvot,)

‡escus, atep amddyffyn

3 Gwr yn ddiau yw vi, o Iddew, a'r anet yn-Tarsus yn Cilicia, anid * wedy'r vaethddrin yn y dinas hon wrth draet Gamaliel, ac wedy'r addyscy yn ol perfeith Deddyf y Tadae, ac oeddwn vawr vy-goglyt ar Ddew, val ac ydd ych chwitheu oll y dydd heddyw.

4 A' mi erdlidiais y ffordd hon yd angae, gan rwymo a' pheri rhoi a' gwyr a' gwragedd yn-carchar,

5 Megis ac y mae yr Archoffeiriat yn test ymy a'r oll Henaduriaeth: y gan y'r ei hefyd yd erbyniais y llythyrae ‡ at y broder, ac aethym i Ddamasco, y dwyn yr ei oedynt yno, yn rhwym i Gaerusalem, y'w * poeni.

‡ yn erbyn

* cospi

6 ¶ Ac e ‡ dderyw, val ydd oeddwn yn ymddeith ac yn dynesay at Ddamasco yn-cylch hanerdydd, pan oedd yn dysymwth dyscleiriaw o'r nef olauni mawr om amgylch ogylch.

‡ ddeddyw, ddarvu

7 Y n y * ddygwyddeis i ar y ddaiar, ac a glyweis lef yn dywedyt wrthyf, Saul, Saul, paam ydd wyt im erlit?

* tramgwyddeis, syrthieis.

8 Yno ydd atebais inef, Pwy ytwyt Arglwydd? Ac ef a ddywot wrthyf, Mi yw Iesu o Nazaret, yr hwn yw ti yn ei ‡ erlit.

‡ ymlit

9 Ac wyntwy a'r oeddynt gyd a mi, a welsant yn wir y goleuni ac a ofnysont: eithyr ny chlywsant leferydd y neb oedd yn * ymleferydd a mi.

* chwedlea, ymddiddan ymlefer

10 Yno y dywedais i, Pa beth a wnaf Arglwydd? A'r Arglwydd a ddywot wrthyf, * Cyvot, a' dos y Ddamasco: ac yno y manegir y-ty am pop peth a ‡ ordeiniwyt yty yw wneythyr.

* Cwyn

‡ ddarparwyt

11 A phryt na vedrwn-welet gan 'ogoniant y goleuni hwnnw, im *tywysit erbyn vy llaw y gan yr ei oedd gyd a mi, ac a ddaethym i Ddamasco.

12 Ac vn Ananias gwr dwywol, *herwydd y Ddedyf ac iddo ‡testolaeth da y gan yr oll Iudeon oedd yn preswiliaw yno, a ddaeth ataf, ac a safodd, ac a ddywot wrthyf, Y brawd Saul, *cymer-dy-olwc: ‡ac ys yr awr honno ydd edrycheis arno. Ac ef a ddywot, Dew ein tadae a racordeniodd yty, gael gwybot y veddwol ef, a' gwelet y Cyfiawn hwnnw, a' chlywet y lleferydd ei enae. Can ys byddy test iddaw wrth pop dyn, ‡am y pethe, a' weleist ac a glyweist. Ac am hyny paam y trigy? Cyvot, a' bad-dier di, a' golch ymaith dy bechotae, gan 'alw ar Enw yr Arglwydd.

Ac e *ddarvu, gwedy y mi ddyvot drachefyn i Gaerusalem, a' gwediaw yn y Templ, y n y vum ‡om dieithyr vy hunan, a' y welet ef yn dywedyt wrthyf, *Brysia, a' thyn ymaith ar ffrwst ymaes o Gaerusalem: can na dderbyniant dy destoliaeth ‡am danaf. Yno y dyweis i nef, Arglwydd, hwy a wyddant vy-bot i yn carchary, ac yn *baeddy ympop ‡Synagog yr ei a gredent ynot ti. A' phan ddineit gwaet dy *verthyr Stephan, ydd oeddwn i hefyd yn sefyll gerllaw, ac a gydsynnyais ae i varwolaeth, ac a gedweis dillat yr ei oedd yn y llad ef. Yno y dyvot ef wrthyf, Does ymaith: can ys mi ath ddanvonaf ym-pell o ddyma at y Cenetloedd.

Ac vvy y gwrandawsant ef yd y gair hwn, ano yno yd erchafasant ei llefoedd, ac a ddywedesont, ‡Ymaith a chyfryw ddyn o ddyar y daiar: can nat

*arweddit
*o bleit, wrth, yn ol
‡air
*adwyl
‡a'r wir
‡o'r
*ddamlnyniodd, ddescennodd
‡mewn trāg, gorphwyll, gwelediga eth
*Frustra
‡om pleit
*curo, ffusto
‡commensa
*dywelltit, gollit
*dyst
‡I ffwrdd

iawn ytyw i byw. A' malydd oeddynt yn *llefain ac yn tablu ei dillat y am danynt, ac yn bwrw *pridd ir awyr, y gorchymynawdd y pen-Captaen bynet ac ef ir castell, ac archodd ei ‡yskyrsio, a'ei holi, er mwyn iddo gael gwybot am pa achos, y llefent velly arnaw. Ac wrth y rwymo ef a chareiae, y dybot Paul wrth y Canwriat, oedd yn sefyll *gerllaw, Ai cyfreithlawn i chwi yskyrsio vn 'sy yn Ruueinwr ac eb ei ‡barny?

A' phan glybu y Cannwriat, ef aeth, ac a vanagawdd wrth y pen-Captaen, gan dywedyt, *Gwyl beth a wnelych: can ys Ruuenydd yw'r ‡dyn hwn. Yno yd aeth y pen-Captaen, ac y dybot wrthaw, Dywait ymy, Ai Ruueinwr ytwyt? Ac ef a ddybot, Je. A'r pen-captaen a attebawdd, A ‡swmp mawr y daethym i y gael *bwrdeisiaeth hon. Ac Paul a ddybot, Eithyr velly im ganet i. Ac yno eb 'ohir ydd ymadaosont ac ef, yr ei oeddar vedr ei holi ef. A'r pen-Captaen hefyt a ofnawdd, gwedy ei gwybu mae Runeinwr oedd ef, a' chan ddarvot iddo ei rwymo. A' thranoeth, erwydd y bot ef yn ewyllysio gwybot diogelrwydd, am pa am y cyhuddit ef gan yr Iuddaeon, ef ei gellyngawdd yn rhydd o rhwymae, ac a'orchymynawdd bot ir Archoffeiriait a'r oll *Cyccor ddybot yng-hyt: ac ef a dduc Paul ac ei gosodawdd ger y bron hwy.

## Pen. xxiij.

Attep Paul Paul wrth gahel ei daraw, a'r garbot ar ei ely-nion. Yr Arglwydd yn ei ddyhuddaw. Ac erwydd bar yr Iuddaeon.

*crio, gweiddi, bloedio
*dwst, llwch
‡ffrewyllio
*yn ei emyl
‡ddamno, ady
*Edrych, mogel, goagel
‡gwr
‡gwerth
*dinasvaint bwrdeisieth, braint y dinas hon
*Seneddr

Iuddaeon yn ei gynllwyn, ydd ys yn y ddanfon ef y Caisareia.

PAul yntae a edrychawdd yn ddyfri ar y Cyccor, ac a ddyvot, Hawyr vroder, Mi a wasanaethais Dew ym-pop cydwybot da yd y dydd hwn. Yna yr Archoffeirat Ananias, a'orchymynnawdd yr ei oedd yn sefyll yn ei empyl, ei daro ar ei *enae. Yno y dyvot Paul wrthaw, E ath dery Dew dydi, ‡ baret gwynllyw. A' thi a eisteddy im barnu yn ol y Ddeddyf, ac a'orchymynny vy-taro 'yn erbyn y Ddeddyf? A'r ei oedd yn sefyll gerllaw, a ddywedynt vvrtho, A ‡ gebly di Archoffeiriat Dew? Ac Paul a ddyvot, Ny wybuum i, vroder, *y bot ef yn Archoffeiriat: canys bot yn escrivenedic, Na * bellithia Bennaeth dy popul. Eithyr pan ddeallawdd Paul bot y naill parth i'r popul yn Tsadduceit, a'r llall yn Pharisaieit, ef a lefawdd yn y Cycor, gan ddyvvedyt, Ha wyr vroder, Mypvi 'sy Pharisai, ac yn vap i Pharisai: am 'obeith a' chyvodiadigeth y meirw im ‡ bernir. A' gwedy ydd ddywedyt hynn yma, y cyvodes ymryson rhwng y Pharisaiait a'r Tsaduceit, yn y ‡ hollwyt y lliaws. Canys y Tsadduceit a ddywedant, nad oes dim cyfodiadigeth, nag Angel, nac yspryt: a'r Pharisaiait a * a addefant bop vn or ddau. Yno y bu ‡ llefain mawr: a'r ‡ Gwyr-llen o blait y Pharisaiait a gyvodesont i vynydd, ac *ymrysonesont, gan ddywedyt, Nid ym ni yn cael

*ddanedd
‡vagwyr wynnedic, wyngalchaid
*yngwrthwynep ir
‡ymserthy, ddivenwy
*mae ef oedd. &c.
‡ddrycddywait am lywodraeth wr
‡cyhuddir, ir achwynir arnaf
‡aeth y dyrfa yn ddwyblait
*ganiatant bot
‡ymlefief
*yscrivenyddion
‡vadlenesōt

dim drwc * yn y dyn hwn: can ys a's bu i yspryt ai Angel ymiddan ac ef, nac ‡ ymladdwn-ni-a-Dew ddim. A' phan gyvodes * terbysc mawr, y pen Captaen, can ofny rac ‡ rhwygo Paul yn ddrylliae y ganthwynt, y'orchymynawdd ir milwyr bynet i waeret, a'ei * ddwyn ef oei plith wy, a'ei * arwein ir castell.

Ar nos hon nesaf y safawdd yr Arglwydd * wrtho, ac a ddyvot, Bydd ‡ dda dy gyssur Paul: can ys megis ac y testolaetheist * am danaf yn-Caerusalem, velly y byd dir ytty dwyn testolaeth hefyd am danaf yn Ruuein. A' gwedy y ‡ bot hi yn ddydd, ydd ymglascawdd 'r ei or Iuddaeon, ac a * gyfreithiesont, gan ddywedyt, na bwytaent ac nad yfent, yn y laddent Baul. Ac ydd oedd mwy no dauugain-vvyr, y wnaethoeddynt y bwriat hwn. Ac wyntwy a ddaethant at yr Archoffeiriait at Henafiait, ac a ddywedesont, Ys darvu y ni ymgyfreithiaw a Raith, na bwytaem ddim, nes y ni ladd Paul. Yr awrhon gan hyny, arwyddocewch chwy chwi a'r Cyccor ir pen Capten, bod yddaw y dwyn ef allan y vory ‡ atoch, mal petech ar veidr cahel gwybot ryw bethe yn yspysach y gantho: a' ninneu, cyn nag y del ef yn agos, a byddwn yn parawt y w ladd ef. Eithyr pan glybu nai vap chwaer i Paul y * cynllwyn, mynet a wnaeth ef, a' dyvot y mewn ir castell, a' manegy i Paul. Ac Paul a alwodd vn o'r Cannwriait attaw, ac a ddyvot, Dwc y ‡ gwr-ieuanc hwn at y Pen-Captaen, can ys mae cantho beth y ei vanegy yddaw. Ac ef ei cymerth, ac ei duc at y pen-Captaen, ac a ddyvot,

Paul

*ar y gwr
‡wrthladdwn, ymdrinwn
*ancydvot
‡carpio, rac tynny Paul yn ddrylliae
*gymeryt, ddwyn
*yn ei emyl
‡o gonffortda.
*o hanoc
‡mynet
*gyngreirtesont, ymrwymesont drwy lw.
‡ychwy
*bradchwedl.
‡gwas

Paul y carcharawr am galwodd attaw, ac a ddy-
syfiawdd arnaf dwyn y gwr-ieuanc hwn atat, can
bot gantaw * beth y ei adrodd wrthyt. Yno y pen-
Captaen ei cymerth ‡ erbyn ei law, ac aeth-ar-
gyfer ac ef or naillu, ac a'ovynodd yddaw, Pa beth
'sy genyt y ei venegy y-myi? Ac ef a ddywot, Yr Iu-
ddeon a gydvwriesont deisyfy arnat, dwyn Paul
allan ebory ir Cyccor, megis petyn ar vedr ymo-
fyn mwy o yspysrwydd am danaw. Eithyr * na
wna di yn ei hol wy: canys y mae o hanwynt yn y
gynllwyn ef, mwy no dauugain-wyr, yr ei a gyf-
reithiesant, na bai ydwynt na bwyta nac yfet, nes
yddynt y ladd ef: ac yr awrhon ydd ynt yn parawt,
gan edrych am dy addewit ti. Yno y pen-Captaen
a ollyngawdd ymaith y gwr-ieuanc, ac a'orchy-
mynawdd yddaw na venagei y neb, ddangos o
‡ hanaw cyfryw pethae wrthaw. Ac ef a alwodd
attaw dau * ryw Gannwriait, ac a ddywot, Pa-
ratowch ddau cant ‡ milwr, y vynet y Caisareia,
a' dec a thriugain o varchogion, a dau-cant, a
* ffynweywyr ar y drydedd awr o nos, a pharato-
ent ‡ yscrublieit y dody Paul arnoddynt, er ei dwyn
efyn ddiogel at Felix y ‡ Presydent.

Ac ef a escrivenawdd lythyr ar y ffurf hon. Clau
dius Lysias yn anuon annerch ar yr arddercho caf
* President Felix. Wrth ddalha y gwr hwn gan
yr Iuddaeon, ac a' hwy ar vedr ei ladd, ydaeth-
ym arnynt a ‡ llu, ac y achupais ef, can wybot
mae Rhueinwr ytoedd. A' phan oeddwn yn ewy-
llysiaw gwybot yr achos, y cuhaddesent ef, y du-
gais ef at y Cyccor hwy. Yno y deellais mae ei gu-

*neges athi
‡erwydd

*nath etri-
ler, ymhedder
ganthynt

‡honawt
y pethae
hynn wr-
thyf
*rei
‡sawdwyr
val yd elent
*dartiae
‡varch
nei gephyl
‡Llywydd,
Raglaw
*Llywyadr
‡chywdawt

huddaw a wnaethit am * gwestionae o y Deddyf hwy, ac nid oedd arnaw vn caredd teilwng a angae, nai rrwymae. A' gwedy dangos y mi, mae yr oedd yr Iuddaeon yn ‡ cynllwyn y gwr, yn ebrwydd y danvoneis ef atat, ac' orchymynneis ydd ei guhuddwyr ddywedyt * ger dy vron di y pethae oedd ganthvvynt yn ei erbyn. Does yn iach. Yno yr milwyr megis y gorchymynesit yddwynt, a gymersont Paul, ac ei dugesont o hyt nos at Antipatris. A'r dydd drannoeth y gadawsont ir marchogion vyned gyd ac ef, ac yr ymchwelesont ir castell. A' phan ddaethant i Caisareia, y troddesont ‡ yr epistol ir President, ac a'osodesont hefyt Paul ger ei vron. Velly wedy daroedd ir President ei ddarllen, a' gofyn o ba * gyvoeth ydd han oedd: a'phan wybu mae o Cilicia ydd ytoedd, mi ath wrandawaf, eb yr ef, pan ddel hefyd dy guhuddwyr: ac a'orchymynawdd ei gadw yn-dadlaudy Herod.

* orchestion
‡ gwneythyd ei vrad ef
* worthyt
‡ y llythyr
* ardal, wlat
‡ syganel ef

## Pen. XXIIIJ.

Paul wedy ei gyhuddaw yn atep dros ei vuchedd a'i ddysceidaeth yn erbyn ei gyhuddwyr: Felix yn y deimlawel, a'ei vryd ar gael gobr. Ac yn ol hynny yn ei adu ef yn-carchar.

A Cyn ol pemp diernot, y daeth y waeret Ananias yr Archoffeiriat y gyd a'r Henafieit, ac Tertullus rhyw areithiwr, yr ei a aparesont ger bron y President yn erbyn Paul. A' gwedy ei alw *ef ir lle, e ddechreawdd Tertullus ei guhuddaw

* ymddaugesont
‡ Paul

ddaw, gan ddywedyt, Can y ni bot yn byw yn
dra heddychol oth bleit ti, a' bot gwneythyr llawer
o bethe gwiw, ir genedl hon drwy dy ‡ racddyall
di, Hyn ydd ym ni yn * cydnabot yn ‡ hollawl, ac ym-
pob lle, yr * arddechocaf Felix, y gyd a chwbyl ddi-
olwch. Eithr rac bot ymy dy ddal ha yn rhyhir ddygn,
atolwc yty ein gwrandaw oth ‡ hynawster ar y-
chydic airiae. Can ys cawsam y gwr hwnn yn
ddyn adwythus, ac yn * cyffroy terfysc ymplith yr
oll Iuddaeon trwy'r oll byt, ac yn ‡ brisnerthwr
ar yr * heresi y Nazarieit, ac a ‡ bynysei halogy
y Templ: ac am hyny y daliesam ef, ac a vyne-
sem ei varny * yn ol ein Deddyf: Eithyr y pen-
Captaen Lysias a ddaeth arnam, a' thrwy drais
mawr ei duc allan o'n dwylo, gan orchymyn y dd
ygnhuddwyr ddybot ata ti, y gan ba rei y gelly
(a's myny ymofyn) wybot yr oll pethae hynn ydd
ym ni yn y gyhuddaw * ev. A'r Iuddaeon hwythe
hefyt a daeresant, gan ddywedyt bot y peth y modd
hynny. Yno Paul, gwedy amneidio o'r Present
arnaw y amadrawddd, a atebawdd, Y mae yn
‡ haws genyf atep troso vyhun, can vy-bot yn
gwybot dy vot ti lawer o vlyddynedd yn * ynat ir
genedleth hon, can ys gelly wybot, nad oes amid
dauddec diernot er pan ddaethym i vynydd i addoly
i Caerusalem. Ac ny im cawsant i yn y Templ
yn ‡ ymddadleu a nep, nac yn * cyffroy yr dyrva y
‡ gyfodi, nac yn y * Synagogae, nac yn y dinas.
Ac ny allant chwarth probi y pethae, y maent im
cuhuddaw am danwynt. Eithr cyffessy yty ddwyf
hyn yma, * mae yn ol y fford (rhon y alwant wy yn

‡rrac ddarpar
‡gwbl
*gorëu
‡boneddigeiddrwydd
*cynnyrfy, peri
‡brenawdur
*opinion
‡tarperesei, amcanesei
*erwydd ein cyfraith
‡ar ein bychaf, ar ein gwarthaf
*ef
‡llafnerach
*bawdwr, barnwr, Iustus
‡disputo
*peri cyffro yn y popul
‡cynulleidfae
*tain

heresi) velly yr addolaf vi Ddew vy-tadae, sef gan gredy yn yr oll pethe r' y scrivenit yn y Ddeddyf a'r Prophwyti, a' gobeith 'sy genyf ar Ddew, am yr vn cyfodiadigeth y meirw ac y maent wy then hefyt yn ei ddysgwyl, y bydd ef ‡ys ir cyfiawnion ac ir ancyfiawnion. Ac yn hyn ydd wyf vi *yn stydio vot genyf yn wastat gydwybot ‡ ddirwystr tu ac Ddew a' thu ac at dynion. Ac yr ovvon yn ol llawer o vlyddynedd, y daethym ac y dugeis *eluseni im cenedleth ac offrymae. Ac yn yr amser hynn, 'rei o Iudeon o'r Asia am cawsant ‡ wedy vy-glanhay yn y Templ, ac nid gyd a thorf, na therfysc. ‡Y rei a *ddylesynt vot yn ‡ gynnyrchiol rac dy vron, am cyhuddaw, a bysei ganthwynt ddim im erbyn. Ai ynte dywedet yr ei hyn yma, a gawsant vvy dim ancyfion *ynof, tra sefeis yn y Cyngor, ‡dieithyr am y *llef vnic hon, a'r a lefeis yn sefyll yn ei plith vvy, sef Am gyfodiadigeth y meirw im *bernir heddyw genwch. Pan glybu Felix y pethae hynn, yr oedd awdd ef wynt, gan ddywedyt, Pan wypwyf yn ‡ yspesach y pethae a perthyn ir ffordd hon, pan vo i Lysias y pen-Captaen ddyvot yma, y dosparthaf eich mater. Yno ydd archawdd i Gannwriad gadw Paul, a gadael iddaw gahel *gorffywys, ac na 'ohardddei i neb oei gydnabot ei weini, nei ddyvot attaw.

Yn ol ‡ talm o ddyddiae, yd aeth Felix ef a'ei wreic Drusilla, yr hon ytoedd Iuddewes, ac ef a'alwodd am Paul, ac a glywawdd gantham am y ffydd ys ydd yn Christ. Ac mal ydd oedd ef yn ‡ dosparth am gyfiawnder, a' *chymmedroldep, ac am y

‡ac
*ynof-
chesty
‡iach, glir
*elusendot
‡yn barodie
*ddirpa-
resynt
‡presennol
*arnaf
‡anid
*yr yma-
drodd
‡cyhudd ir
*hy trach,
[illegible]
‡esmythder
*amser
‡rresymy
*cymesur-
dep

am y barn y ddybot, Felix a ddechrynawdd, ac a atebawdd, Does ymaith ‡ ar hyn o amser, a mid pan gaffwy amser-cyfaddas, mi alwaf am danat. Ac ydd oedd ef yn gobeithio hefyt y rhoddesit ariant iddaw gan Paul, er iddo ei ellwng ef: erwydd pa bleit ydd anvonodd ef am danaw yn vynychach, ac y *chwedleuawdd wrthaw. A' gwedy cerddet dwy ‡ blwyddyn, y daeth Porcius Festus yn lle Felix: a' Felix yn ewyllysio ennill bodd yr Iuddaeon, a adawdd Paul yn * rhwym.

‡ddros

*ymddiddanodd ac ef

‡blynedd

*carchar

## Pen. xxv.

Yr Iuddaeon yn cyhuddaw Paul ger bron Festus. Ef yn atep drostaw ehun. Ac yn appelio at yr Ymperawtr. Bot yn cympwyll am y vater ef gar bron Agrippa. A'i dwyn ef allan.

Gan hyny gwedy dybot Festus ir *ardal, ar ben y tridie ydd aeth i vynydd i Gaerusalem o Caisareia. Yno* ydd ymddangosent yr Archoffeiriat a' phennaethieit yr Iuddaeon ger ei bron ef yn erbyn Paul, ac atolygasant iddaw, a' chan erchy ‡ caredigrwydd yn ei erbyn, bod iddo ddanvon am danaw i Gaerusalem: ac hwy a wnaethant *gynllwyn yw ladd ef ar y ffordd. Eithyr Festus a atebodd, ‡ bot cadw Paul yn Caisareia, ac a danetyntae ehun * eb ohit ydyno. Can hyny (eb yr ef) dauet yr ei o hanoch chwi 'sy yn abl, y gyd a ni:

*cydoeth

*appircent

‡ffavr

*vrad, bwriad

‡am

*ar vyrder

ni i waeret: ac ad oes * neb anvviredd ‡ yn y gwr, cyhuddant ef.

Pryt na thrigesei ef yn y plith wy * y tuhwnt y ddec diernot, ef aeth y waeret y Caisareia, a'r dydd nesaf ydd eisteddawdd yn y brawdle, ac a orchymynawdd ddwyn Paul atavv. Ac wedy ei ddybot, yr Iuddaeon y ddaethent o Gaerusalem, a safasont o ei amgylch, ac a ddodesont lawer o achwyniõ trymion yn erbyn Paul, yr ei ny ellynt ei provi, can yddaw vot yn atep, na ddaroedd yddaw ‡ pechy dim nac yn erbyn Deddyf yr Iuddaeon, nac yn erbyn y Templ, nac yn erbyn Caisar. Er hyny Festus yn ewyllysiaw cahel * bodd yr Iuddaeon, a atebawdd i Paul, gan ddywedyt, A di y vyn ydd y Gaerusalẽ, ac yno ith barny am y pethe hyn ger vy-bron i. Ac Paul a ddybot, ydd wyf yn sefyll ‡ wrth brawdle Caisar, lle y perthyn vy-barny: ir Iuddaeon ny wneythym i ddim yngham, megis ac y gwyddos-ti yn dda ddigon. Can ys, a's gwneythym ddim * cam, ai dim teilwng o angae, ny wrthddodaf vi varw: ‡ ac anid oes dim or cyfryvv betheu ar y maent * wy im cyhuddaw, ny all nep vy rroddi yddwynt: appelo ydd wyf ‡ ar Caisar. Yno Festus wedy daroedd iddaw ymddiddam a'r Cyngor, a atebawdd, A appeleas ti * ar Caisar? ar Caisar y cai vynet.

Ac yn ol swrn o ddyddiae, y Brenhin Agrippa a' Bernice ydd aethant y wared y Caisareia y * gyfarch-gwell i Festus. A' gwedy yddwynt aros yno lawer o ddyddiae, Festus a venagawdd ir Brenhin ‡ vater Paul, gan ddywedyt: Y mae yma rywr

*dim coegedd
‡ar
*dros ben
‡wneythy dim ynghã
*ffabr
‡gar llaw
*ynghamm, enwed
‡as ynte
*rhein
‡at yr Ymmerawtr
*at
*ymanerch
‡bethe, hawl

yr wedy ei adael yn-carchar y gan Felix. Am yr
hwn pan ddaethym i Caerusalem, ydd oedd yr
Archoffeiriait a' Henasiait yr Iuddeon yn *hon=
nyny, gan ddeisyfy cahel barn yn ei erbyn. I ba
'rei ydd atebeis, nad yw ‡ moes y Rufeinieit, er
bodd-roddy nep i angae, cyn noc y caffo yr vn a
gyhuddir, ei gyhuddwyr ger ei vron, a' chaffael o
honaw le y amddyffyn ehun, am y caredd. Wrth
hyny gwedy ei dyvot wy yma, ‡ eb 'oludd y dydd
cyntaf rac llavv ydd eisteddais yn y vrawdle ac a' or
chymynais dwyn y gwr ger bron. Yn erbyn pa vn
pan safawdd y cuhyddwyr i vyny, ny * ddugesōt
wy vn caredd am gyfryw bethae ac y tybyesswn i:
namyn bot ganthwynt ryw ‡ gwestionae am * y
gwangoel yddynt y hunain, ac am vn Iesu a vu
marw, yr hwn a daerei Paul ei vot yn vyw. A' mi=
neu erwydd vy-bot yn * petrusaw ‡ yn-cylch cyfryw
gwestion, a' ovyneis iddaw a elei ef y Gaerusalē,
a' chymryt-barn yno am y pethae hyn. Eithyr can
darvot iddaw apello y n y gedwit ef i ‡ wybyddyeth
Augustus, mi 'orchymynais ei gadw, yd pan dan=
fonwn ef at Caisar. Yno Agrippa a ddyvot wrth
Festus, A' mineu a wyllyswn glywed y * dyn. Evory
eb yr yntef, y cai y glywet ef. A' thranoeth wedy
dyvot Agrippa a' Bernice a ‡ rhwysc mawr, a'
myned i mewn ir Orsedd y gyd a'r pen-capteinieit
a' phendevigion y dinas, wrth 'orchymyn Festus
y ducpwyt Paul * yno. Ac y ‡ 'syganei Festus,
A vrenhin Agrippa, a' chvvithe bawp ys ydd yn
presentol yma gyd a ni, ys gwelwch y ‡ dyn hwn,
a bleit pa vn y galwodd oll * tyrfa yr Iuddaeon
arnaf,

*cyhoeddy, menegy
‡debod, arver
*ffawr
‡yn ddioet
*ddyrcsont
‡ymofyniō
*amhau, dowto,
‡am
*holedigeth
‡gwr
‡rhodres, rrwyf
*atwynt
‡dywedet:
*Ti
‡gwr
*llios.

arnaf, bop vn yn-Caerusalem, ac yma, gan arthlefain, na ddlei ef gael byw a vei hwy. Er hyny ni vedreis i gael arnaw wneythy dim teilwng o angae: anid can ddarvot iddaw appelo at Augustus mi a verneis y ddanvon ef. Am pa vn nid oes genyf ddim talgrwn yw escriveny at vy Arglwydd: erwyd pa bleit mi y dugais ef atoch, ac yn enwedic atta ti, Vrenhin Agrippa, yd pan yw yn ol darvot ei holi, gaffael o honof beth yw escrivenny. Can ys anrysymol y tybiaf ddanvon carcharor, a ceb ‡ arwadocay yr achosion y cyhuddir ef.

*yspysy, honny

## Pen. xxvj.

Gwirionday Paul a welit wrth adrodd ei vuchedd, cymmedroldep ei atep wrth draha Festus.

*ddywedyt

‡ddyvot

YNo y dyvot Agrippa wrth Paul, e genietir yty * ymadrodd drosot tyhun. Velly Paul a estennodd ei law, ac a ‡ atepodd drosto ehun. Ys dedwydd y tybiaf vy-bot vyhun Vrenhin Agrippa, can y mi gahel atep heddyw geyr dy vron di, am bop peth im cyhuddir y gan yr Iuddaeon: yn bi-ddibaddae, can dy vot ti yn gwybot o ywrth yr oll ddevodae, a' chwestionae 'r ysydd ym-plith yr Iuddaeon: erwydd paam, yr atolygaf yty, vy-gwrandaw yn ddioddefgar. Ac am vy-buchedd om mabolaeth, a'pha ryw wedd ytoedd hi o'r dechreat ym-plith vy-cenedlaeth vy hun yn-Caeru-salem,

salem, e wyr yr oll Juddaeon, yr ei am adwaenēt
*gynt (pe mynent testolaethy) bot i mi yn ol y
‡sect *cynnilaf o'n creddyf vyw yn Pharisai. Ac
yr awrhon ydd wyf yn sefyll ac im cyhuddir am o-
baith yr adewit a wnaed y gan Ddew i ein tadae.
At ‡ pa addevvit ein dauddec llwyth yn gwasana-
ethy Dew eb dorr ddydd a'nos, a'obeithant dyvot:
er mwyn pa'obeith, a Vrenhin Agrippa im cyhu-
ddir y gan yr Juddaeon. Paam y tybir yn beth
anghredadwy y genwch, bot y Ddew gyvody y
meirw dragefyn? Minneu hefyd yn diau a dybiais
ynof vy hū, y* dylewn wneythy llawer peth ‡ gwrth
wyneb yn erbyn Enw yr Jesu o Nazaret. Yr hynn
betha wnaethym i yn-Caerusalem: can ys llaw-
er o'r Sainct a'orchaeais yn-carcharoedd, can
bot genyf awturtat o ywrth yr Archofferait: ac
wrth ei ‡ diuetha, y rhoddeis varn. A mi y* poeneis
wy yn vynech drwy yr oll ‡ Synagogae, ac ei cym-
pelleis i gably, a' chan ynfydy ym-pel ach yn y her-
byn wy, mi ei herlidiais, hyd ar ddinasoedd *estrō.
Ac yn hynn, pan aethym i Ddamasco ac awtur-
tawt, a' ‡ chaniatat yr Archoffeiriait, ar haner
dydd, a' Vrenhin, ar y ffordd y gwelais ‡ leuber
o'r nefoedd, yn rhagori ar ddysclaerdap yr haul, yn
llewyrchy om amgylch, mi ar ei oedynt yn ymdeith
gyd a ni. A' gwedy daroedd y ni oll *ddyfgwyddo
ir ddayar, y clywais lef yn llavaru wrthyf, ac yn
dywedyt yn-tavot Hebreo, Saul, Saul, paam
im ‡ erlidy? *Calet yw yty wingo yn erbyn y swm-
bylae. A' minneu ddywedais, Pwy yt wyt Arglwydd?
Ac yntef ddyvot, Myvi yw Jesu yr hwn wyt ti yn ei
erlid.

*or blaen
‡gohanred
*craffaf, dichlynaf
‡yr hwn
*dylesswn
‡trawsedd
‡lladd, rhof yw marwolaeth
*cospeis
‡gynnulleidvaon
*dieithr
‡ch omilliā
*am
‡lewych, goleuni goleuad
*gwympo, syrthio, ir llawr
‡ymlidy
*Anhawdd

erlit. Eithyr cybod y vyny a' sa ar dy draet: can ys er mwyn hynn yr ymddangoseis yty, sef er dy 'osot ti yn 'wenidawc ac yn test, *ys am y pethae'r y we- leist, ac am y pethae yn yr ei y ymddangosaf yty, gan dy waredy y wrth y * popul, ac y wrth y Ce- nedloedd, at pa'r ei yd anvonaf yr awrhon: er yty agory ei llygait, ac ymchwelyt o hanwynt y wrth dywyllwch i 'oleuni, ac y wrth ‡ vediant Sa- tan *ar Ddew, y n y dderbyniont vaddeuant pe- chotae, ac etiveddiaeth ym-plith yr ei, a sancte- ddiwyt trwy ffydd yno vi. Am hyny, Brenhin Agrippa, nid anvfyddheis i ir weledigaeth ne- fawl, anid dangos yn gyntaf ydd wyntwy o Da- masco, ac yn-Caersalem, a' thrwy oll orwlat Ju- daia, ac yno ir Cenedloedd, ‡er ydd wynt edivar- hay, ac ymchwelyt *ar Ddew, a' gwneythy gwei- thredoedd a vei teilwng i wellaat buchedd. Am yr achos hynn yr ymavlawdd yr Juddaeon yno- yn y Templ, ac a geisiesont vy lladd. Er hyny mi gefeis borth y gan Ddew, ac wyf yn ‡aros yr dydd hwn, gan destolaethy ac i bychan a' mawr, * ac eb dywedyt dim amgen no'r pethae y dywawt y Prophwyti a' Moysen y delei, ys ef yvv hyny, bot i Christ ddyodde ac ydaw ef bot yn gyntaf a gyvo- tai o veirw, ac a ddangosei 'oleuni ir popul, ac ir Cenedloedd. Ac mal ydd oedd ef yn atep hynn drostaw ehun, y dyvot Festus a llef vchel, Paul, ydd wyt yn ynvydu: ‡lliaws o dysc syd ith wne- thy'r yn ynvyd. Ac yntef ddyvot Nyd wyf wedy yn- vydy, ‡ardderchawc Festus eithyr gairiae gwir- onedd a' sobrwydd wyf yn ei hadrodd. Can ys *gwyr y Bren-

*yn gystal

‡sef yr Judaeō

*allu
‡at

*ar
‡at

o
*y dalliawdd yr Juddaean vi
‡parhay
*nad wyf
ym

‡wedy amhwyllo
*llawer
‡ddayonus, bendedic
*ef a wyr, y mae yn eb- pes gan

[B]renhin am y petheu hyn, ger bron yr hwn hefyt ... wyf yn *cympwyll yn ‡hyf, ac ydd wyf yn ty... nad oes dim o'r pethe hynn yn guddiedic rac ... ef: can na wnaethant hynn yma mewn con... gyl. A Vrenhin Agrippa, a gredy di y Prophwyti... ... wnn dy vot yn credy. Yno y'saganei Agrippa ... wrth Paul, Ydd wyt *o bewn ychydic im annoc y ... yn Christian. Ac Paul a ddyvot, Mi ‡ddamu... ... gan Dew nid yn vnic y tydi, namyn a' phavvp ... ysydd im clywet i heddyw, eich bot ac o bewn ... ychydic ac yn gwbyl oll yn gyfryw ac ydd wyf vi... ... *dieithyr y rrwymae hynn. Ac wedy yddaw ... dywedyt hyn, y cyvododd y Brenhin i vynydd, a'r ... President, ac Bernice, a'r ei oedd yn cyd eistedd ac ... wynt. Ac wedy ydd wynt vyned o'r ailltu, wynt ... gympwyllesont yn ei plith ehunein, gan ddy... wedyt, Nid yw'r *dyn hwn yn gwneythy dim ... wng o angae, na rrwymae. Yno y dyvot A... grippa wrth Festus, Ef 'ellit gellwng y ‡ gwr ... hwnn, pe na bysei iddaw appelo ar Caisar.

*ymddidan amadrodd
‡eon, yu boderus
*wrth brō, bayachen
‡buchwn, rybuchwn
*anyd
*gwr
‡Gr. dyn
*at

# Pen. xxvij.

... perygius bu *taith Paul ai gyfeillion parth a Ruvein. Pa wedd a' pha le ei tirïasont.

Gwedy daroedd yddynt *gytharny, yni hwylio ir ‡ Ital, hwy a rode-sant bob un Paul, a'rryw garcha-rorion ereil at Gānwriat aei enw Iulius o *gatyrva Augustus. A' dringo a wnaethom i long o A-dramyttium ar vedr hwyliaw ar

*ymgyngori
‡Eidal
*ranwyr

duedae yr Asia, ac a dynasō ymaith, ac Aristarchus
or Macedonia o vvlad Thessalonia, oedd gyd a ni.
A'r dydd *nesaf y tiriesam yn Sidon: ac Julius a
ymdduc yn * ddyngar wrth Paul, ac a roes iddaw
ryddit i vynet at ei gereint, y gahel ced ganth-
wynt. Ac o ddyno y moriesam, ac yr hwyliesam eb-
law Cyprus, erwydd bot y gwyntoedd yn wrth-
wynep. A' gwedy ‡ trawený o hanam dros y mor
ger llaw Cilicia ac Pamphylia, a' dyvot i Myra,
dinas yn Lycia: ac yno cahel or Cannwriat long o
Alexandria, yn hwyliaw ir Ital, ac a'n * gosodes
ynthei. A' gwedy y ni hwyliaw yn ‡ llusgenaidd
dros lawer o ddyddiae, ac o vraidd dyvot gar llaw
Gnidum, can vot y gwynt in * lluddiaw, hwylio
a wnaetham ‡ yn-goror Candi, gar llaw Sal-
mone, ac o vreidd yr hwyliesam hebddei, ac a ddae-
etham i ryw le elwit y Porthladoedd prydverth, ac
yn gyfagos iddaw ydd oedd dinas Lasaia. Wely
wedy cerddet llawer o amser, ac yn awr bot mo-
riaw yn * periclus, can ‡ ddarvot hefyd amser yr
vmpryt, Paul y cygcorawdd hvvy, gan ddywedyt
wrthynt, Ha-wyr, mi welaf y bydd* yr hynt hon gyd
a sarhaed ac eniwed mawr, nid am y llwyth a'r
llong yn vnic, a nid am ein ‡ eneidiae hefyt. Er hy-
ny y gyd mwy y credei y Cannwriat ir llywydrae-
thwr a'r llong-lywydd na' ar pethae y ddywedesit
gan Paul. A' phryt nad oedd y porthladd yn adas
y' ayafy ‡ yntho, llawer a gymersont yn ei cygor,
voriaw o ddyno, a's gallent mewn rhyw vodd ddy-
vot hyd yn Phoinice a' gayafy yno, yr hwn 'sy por-
thladd yn-Candi, ac y'sydd ar gyfor Deau-orlle-
wyn

*Gr. arall
*boneddigaidd, hawddgar
‡diangara-
‡hwyliaw
*dodes
‡hwyr, ddywrys
*rhwystro
‡gan ystlys
*enbydus
‡vynet
*y daith yma
‡bywyt, hoedl, einioes
‡ynthei

wyn a'r Gogledd 'orllewin. A' pan * chwythawdd awel vach o ddeheuwynt, wyntwy yn tybieit caffa- el ‡ pwrpos, a ddatdodesont * i Asson, ac a hwy- liasont eb law Candi. Eithyr cyn pen ne-mawr o amser, e gyvodes yn ‡ ei hempyl rhyvelwynt y elwit Euroclydon. A' phan attelit y llong, ac na allai ‡ wrthladd y gwynt, ni adawsam yddi * borthi yr mor, ac in ‡ arweddwyt ymaith. A' gwedi yni re- ded gorris ynys vach a elwit Clauda, braidd y ga- llesam gahel ir bad, yr hwn a dderchafesont i vy- ny, ac arverésont o bob canhorthwyon, gan * gyl- chy y llong o ddydenei, ac ofny a wnaethāt rac syr- thio mewn ‡ Syrtis, a gadael y llestr i waeret, ac velly y ducpwyt hwy. A'r dydd nesaf gwedy cyvo- di * morgymladd ddirvawr arnam, ‡ y diyspydde- sont wy yr llong: a'r trydydd dydd y bwriesam an dwylaw ein hunain daclae y llong allan o hanei. Ac pryd na welit na'r haul na'r ser dros * liaws o ddyddiae, a' thempestl nyd bychan oedd ar ein gwartha, ys daroedd ‡ trosgwyddo oll 'obeith by- wyt o ddyarnam. Eithyr yn ol hir * ddirwest, y safodd Paul yn y canol hwy, ac a dyvot, Ha-wyr, dylesit ddyvi vylysech wrandaw arnavi a' pheidio a ‡ dat- dot o ywrth Cādi, ac yno * y diēgesech rac y sarhaed a'r gollet yma. Ac yr awrhon ydd eiriolaf arnoch vod yn dda ei cyssir: can na chollir vn map eneit dyn o hanoch, amyn y llong yn vnic. Can ys safawdd gar vy llaw y nos hon Angel Dew, yr hwn am piae, ac ydd wyf yn ei wasanaethy, gan ddyweddyt, Nac ofna Paul: can ys dir yw dy * ddwyn gerbron Caisar: ‡ a' nachaf y rhoddes Dew ytty yr oll rei

*gyvodes
‡helhynt
*yn nes
‡wrthi
*Gogledd- ddwyrein- wynt
*vwhwmā
‡ducpwyt
*wregysy
‡sugyndra- eth
*tempestl
‡yr yscafns sont
*lawer
‡dwyn
*newyn, cythlwng
‡diangori
*enill
‡yn v'empyl, wrthyf
*ofot
‡ac wele, llyma

 'sydd

'sydd yn moriaw gyd a thi. O bleit paam, ha-wyr,
byddwch lew-eich-calon, can ys credaf Dduw, mae
velly y bydd yn y modd ac y dywetpwyt ymy. Eithyr
dir yw ein *tafly i ‡nebun ynys. A' gwedy dyvot
y petwaredd nos ar ddec, mal ydd oeddem yn
*bwhwman yn y mor Adrial yn-cylch haner nos,
y tybrawdd y morinwyr ‡nesau o ryw wlat ydd-
wynt, ac a *sowndiasont, ac ei cawsont yn vgain
'wrhyd o ddyfnder: a' gwedy myned ychydic pellach,
sowndio drachefn a wnaethant a'ei gael yn pemp-
thec 'wrhyd. Ac wy yn ofny rac syrthio mewn ryw
leoedd ‡geirwon, bwrw a wnaethant pedair an-
cor allan o'r parth-ol-ir-llong, gan ddamunaw
*gwawrio o'r dydd. Ac mal ydd oedd y llongwyr
yn ceisiaw ffo allan o'r llong, a' gwedy gellwng bad
i wared ir mor, mal petyssent ar vedr bwrw anco-
rae allan o'r pen-blaen ir llong, y 'syganei Paul
wrth y Cannwriat ar milwyr. A' ddieithyr i'r rei
hyn aros yn y llong, ny ellw-chwi vot yn ‡ga-
wedic. Yno y torawdd y *milwyr raffae yr bat, ac
y gadasont yddaw ‡ddygwyddaw ymaith. A'
gwedy dechrae y bot hi yn ddydd, yr eiriolawdd
Paul ar bawp gymeryt bwyt, gan ddywedyt,
Llyma'r pedwerydd dydd ar ddec ydd aresoch, ac
y parhaesoch *yn ymprydiaw, eb gymeryt ddim
llunieth. Am hyny ydd eiriolaf arnoch gymeryt bwyt:
can ys lly'ma eich ‡iechyt: o bleit ny ddygwydd
vn blewyn y ar ben yr vn o hanoch. A' gwedy
iddaw ddywedyt hynn, y cymerawdd bara, ac y
diolchawdd i Dduw, yn-golwc pawp oll, ac ei *dry-
lliawdd, ac a ddechreawdd bwyta. Yno y ‡siriodd
pawp, ac y cymersont wythe bwyt hefyt. Ac ydd

oedd

*bwrw
‡ryw
*mordwyo, in trawsddugit
‡ymddagos
*blwmiesont
‡agarw, geirw
*y myned hi yn ddydd
‡ddiangol
*sawdwyr
‡gwympo, syrthio
*ar eich cythlwnc
‡diogelrwydd
*gwydd
‡torawdd
*ymlewhaodd, llonhodd

eddo hanam y gyd oll yn y llong ddaucant, tri-
gain ac vn ar pemthec o eneidiae. A'gwedy daro-
ddynt vwyta * digon, yr yscafnhasont y llôg, *ei gwala
gan vwrw yr gwenith allan ir mor. Ac pan ytoedd ‡vro, wlad
yn ddydd, nid adnabuont wy yr ‡ tir, ac hwy gā- *borthladd
uesont ryw * ebach a' ‡ thorlan iddaw, ir lle y bach
medyliesant (a's gallent) wthio yr llong y mewn. ‡glan, phē-
Ac wedy ydd wynt dderchafy yr ancorae, y ma- rryn.
denesont ‡ y llong ir mor, ac y gellyngesont yn *y hunain.
hydd rwymeu y llyw, ac y dyrchafasont y llieyn-
hwyl parth ar gwynt, ac a dynnasont ir 'lann.
A'gwedy dygwydo o hanwynt mewn lle dauborthvvrdd,
y gwthiasont y llong y mewn: a'r pen-
blaen-iddei a lynawdd eb allu ei sylfyd, a'r penn-ol
ymddascarawdd gan ‡ nerth y tonnae. Yno cy- ‡rwyf, hwr-
ngor y milwyr oedd lladd y carcharorion, rac bot ir ddiat
un o hanynt, wedy nofio ir 'lan, * ffo ymaith. Eithyr *gilo, dianc
y Cannwriat yn ewyllysio cadw Paul, ei gohar-
ddawdd ywrth y cygcor hvvn, ac a'orchymynodd
i'r ei bedrent nofiaw, ymvwrw ir mor yn gyntaf,
a myned allan ir tir: ac bot ir lleill, 'rei ar * estyllae, ‡byrdde,
ac ereill ar ryw ddrylliae o'r llong: ac velly y verde.
darvu, dyvot o bawp oll ir tir yn ddiangol.

## Pen. xxviij.

Paul a'ei gydymdeithion yn cahel yr estron genedl yn vwyn ac yn gymmwynasgar. Bot y * wiper eb wneythur eniwed iddo. Ef e yn Iachay tad Publius ac ereill, a'gwedy iddo gael ei ddiwally ganthwynt o bethe angenreidiol, tynny a wnaeth i Ruvein. Ac yno wedy dderbyn gan y broder, y mae yn dangos ei negesae. Ac yno yn precethu yspait dwy vlynedd. *neidr.

AC wedy yddwynt ddianc yn-iach, yno y gwybuant mae *Melita y gelwit yr ynys. A'r ‡Barbarieit a ddangosesant yni *hawddgarwch nid-bychan: can ys wy a gynneuson dan, ac an derbyniesant y gyd oll, o bleit y gawat gynnyrchiol, ac o bleit yr oervel. A' gwedy casclu o Paul talm o vriwydd, a'ei dody ar y tan, e ddaeth ‡ gwiper allan o'r gwres, ac a ruthrawdd y ei law. A' phan welawdd y Barbarieit y *bwystvil yn-crog wrth ei law, y dywedent yn ei plith ehunain, yn sicr ‡lleiddiat yw'r dyn hwn, yr hwn cyd diangawdd *o'r mor, ny's gad dialedd i vyw. Ac ef e a yscytwodd y bwystvil y wrtho ir tan ac ny bu arno ddim eniwed. Eithyr wynt wy a ddysgwiliesit ganthaw ain chwyddo, ‡nai dygwyddo y lawr yn ddysyvyt yn varw: ac wynt yn hir o amser yn *edrych, ac eb welet dim ‡ancyflwr yn dygwydd iddaw, troi ei meddwl a wnaethant, a' dywedyt, Mae Dew ytoedd ef. Yn y cyfle oedd hyny, ydd oedd *tiredd i bennaeth yr ynys, (a ei enw oedd ef Publius) yr hwn an erbyniawdd, ac'an lletyawdd dros dri-dieyn ‡ anwyl. Ac e *dderyw, bot tad Publius yn gorwedd yn glaf ‡o gryd, a' darymred gwaedlyt: ac attaw ydd aeth Paul y mewn, a' gwedy iddo weddiaw, y dodes ei ddwylo arnaw, ac y'r iachaodd ef. A' gwedy gwneythyd hynn, y-eill hefyt o'r ynys, ar oedd heintiae arnynt, a ddaeth attaw, ac eu iachawyt: yr ei an *parchasont yn vawr iawn: ac wrth longi o hanam, in llwythesant a phethae angenreidiol.

*hon y elwir hedyw Malta
‡Estron genedl
*ddyngarwch, vwynder
‡rryw neider bericlaf
*pryf
‡lladdwrcelain
*ar vor
*nen
‡cwympo, syrthio
*dysgwyl
‡an cymmesur
*cyfanneddion
‡gu, yn voesawl, yn gwrtais
*ddamwyniodd
‡o'r ddeirton a haint ei galon
*anrrydeddesont

Ac ar

Ac ar ben y trimis ir aetham ir mor mewn llong o Alexandria, yr hon y besei yn gaeafy yn yr ynys, a'i harwydd hi oedd Castor ac Pollux. Ac wedy ein ‡ dybot i Syracusa y trigesam yno dri-die: Ac oddyno y cyrchasam amgylch, ac y daetham i Rhegium: ac yn ol vn dydd, y chwythawdd Dehauwynt, ac y daetham yr ail dydd i Puteoli, lle cawsam broder, ac in deisyfwyt i drigo gyd ac wynt saith diernot, ac velly ydd aetham * parth a Rufein.

Ac oddyno, pan glybu yr broder oddywrthym, y daethant y ‡ gyfarvot a ni yd ym-Marchnat Appius, a'r Tair tavarn, yr ei pan welawdd Paul, diolwch i Ddeo a wnaeth, a bot yn * hyderus. Ac velly wedy ein dybot i Rufein, y rhoddes y Cãwriat y carcharorion at y Captaen-goruchaf: eithyr Paul y adwyt y drigo ‡ vvrtho ehun y gyd a * milwr oedd y ei gadw. Ac ar ben y tridie, y galwodd Paul ‡ bennaethieit yr Iudeon yn-cyt: Ac wedy ei dybot, y dywedawdd wrthwynt, Ha-wyr broder, cyd na wneuthym ddim yn erbyn y popul, nai Cyfreithiae yn tadae eto, im rroddwyt i yn garcharawr o Gaerusalem i ddwylo y Rufeinwyr, y rei wedy darvot yddwynt vy holi, a vynesent vy-gellwng ymaith, can nad oedd dim achos angae ynof. Eithyr can bot yr Iudaeon yn gwrthddywedyt, im cympellwyt i appelo * ar Caisar, nid o herwydd bot genyf ddim y achwyn ar vy-cenedl. ‡ Ac or achos hyn y galweis am danoch, y eich gwelet, ac y * gytgympwyll a chvvi: er mvvyn gobaith yr Israel im cylchynir a'r catwyn hon. Ac wythe a ddywedesõt wrtho. Ny wnaetham ni na chael llythyre o Iudaia * am danat, na dybot neb o'r broder a venegodd neu a ddyvot dim * an-

vad am

‡ tirio
* f
‡ gyfwrdd
* ehon, hyf
‡ yntef
* sawdiwr
‡ blaenorieit
* henuriaid
* ar
‡ Can hyny
* ymddiddan
‡ rrwymir
* oth bleit di
‡ drwc

vad am danat. Eithyr ni wyllysē glywet genyt' yn beth a * synny: can ys am ‡ y sect hon, y mae yn * wybodedic genym, bot ym-pop lle yn ei gwrthdywedyt. A' gwedy gosot diernot iddo, e daeth llaweredd attaw ir ‡ hospyty, i ba rei yd esponiodd ac testolaethawdd ef deyrnas Dew, ac a precethawdd yddwynt am yr Iesu ac o Ddeddyf Moysen ac o'r Prophwyti, o'r borae yd * 'osper. A'r ei a gydsynient a'r y pethae, ry dywedesit, a'r ei ny chredent. A' phryt nad oedden yn cydcordio yn ei plith ei hunain, ymadael a wnaethant, gwedy dywedyt o Paul vn gair, nid amgen, Da y ‡ llavarawdd yr yspryt glan trwy Esaias y Prophet wrth ein tadae, gan ddywedyt, Cerdda at y popul hyn, a' dyweit, * Yn clywet y clywch, ac ny deallwch, ac yn gwelet y gwelwch, ac ny chanbyddwch. Can ys calon y popul hynn a brasawyt, ac ei clustiae yn pwl y clywant, a'ei llygait a gaeasont, rac bot yddwynt welet a'ei llygait, a' chlywet a'ei clustiae, a' deall a'ei calonae, ac ymchwelyt ‡ y n yd iachewn i hwy. Gwybodedic gan hyny bo ychwy, mae yr * iechydwrieth hon ‡ gan Ddew a ddanvonwyt ir Cenetloedd, ac wyntwy ei * clywant. A' phan ddywot ef y pethae hyn, ydd aeth yr Iuddaeon ymaith, gan bot ymresymy mawr ganthwynt yn ei plith ehunain. Ac Paul a drigawdd ddwy blwynedd yn ei duy ardrethol, ac a dderbyniawdd bawp oll a ddaeth y mewn attaw, gan pregethy teyrnas Ddew, a dyscy cyfryw bethae, ac a 'sydd ‡ herwydd yr Arglwydd Iesu Christ, yn gwbyl * hyderus, ac eb nep yn ‡ gohardd.

*dyby
‡yr opinion
*honneit
‡yw letuy, ostri
*pryd gosper, prydnawn, hwyr, nos
‡dywedodd
*Gan
‡bal yr
*iechyt
‡eiddo
*gwrandawant
‡yn porthynu
*rrwystro, llestair, lluddias, deor, rragot

# Epistol Paul yr Apostol at y Ruueinieit.

## YR ARGVMENT.

Yma y manegir mawr drugaredd Dduw tu ac at ddyn in-Christ Iesu, a'r mwyniant y gyfiawnder ef a gawn ni drwy ffydd. O bleit pryd na allei ddyn gan y lygredigaeth yhun gyflawny y Deddyf, a nyd gwneuthur yr hyn scelerafoll yn erbyn Deddyf Duw ac anian, yno anveidrol ddayoni Duw, yn meddwl am ei addewit a wnescit y'w was Abraham, tad yr oll creddynion, a ordeinsawdd bod i iachawdurieth yn hefyll yn unic yn vvyddot y Map ef Iesu Christ: val na bwnei yn unic ir enwaededig Iuddaeon, eithyr hefyt ir Cenhedloedd dienwaededic bod yn iach drwy ffydd yndo ef: vegis yn Abraham cyn no ei enwaedu, a gyfrifwyt yn gyfiawn yn unic trwy ffydd, ac eto gwedy hyny bod yddo dderbyn enwaediat, vegis yn insel nei arwydd yr unryw gyfiawnder drwy ffydd. Ac er mwyn, na byddei i neb dybiaw na chwplesid y cyfammot a wnaethei Duw yddaw ef ac y'w hiliogeth: yn enwedic am na dderbynynt yr Iuddaeon Grist (yr hwn oedd yr had bendigeit) ai na chredynt mai efe oedd y gwir * Brynawdur, can na bu yddo yn unic, neu o'r hyn lleiaf yn vwy eglur gwelw yr Iuddaeon, y mae esemplae Ismael ac Esau yn dangos

*Brynvvr

gos, nad yw pawp yn hil Abraham, a'r 'sy yn dybot o Abra-
ham erwydd y cnawd: eithyr hefyd bot y gwir estronieid a'
Chenetloedd a'r y impiwyd drwy ffydd, wedy 'ei gwneuthur
yn etifeddion yr addewit. Ac achos hyn yw vnic ewyllys
Duw: o bleit iddo oei rydd ewyllys ethol rei y vod yn gad-
wedic, ac oi gyfiawn varn wrthdot ereill er ei barnu, megis
y gwelir wrth testolaethae yr Scrythur 'lan. Ac eto er mwyn
na ry ostyngit yr Iuddaeon, ac na ry dderchefit y Cenetloedd,

*ddevvysedigion

y mae esempl Elias yn provi, bot eto gan Dduw ei *ethole-
digion ac o anianol hilogeth Abraham, cyd na bo hyny yn e-
glaer yn-golwc dyn: ac am y rhagor-braint hyny ysid ir Ce-
netloedd, o haelder trugaredd Duw y daw, yr hon o'r diwedd
y estyn ef tu ar Iuddaeon drachefn, ac velly y cynull ef yr oll
Israel (yr vn yw y Eccles ef) o'r ddwyblait. Yno gwedy dy-
sylu a grwndwalu sail yr ffydd ar athroeth or modd hyn, y mae
addysc cynneddfae Christionawl yn dybot ar ol: gan ddyscu
pawp trodio mewn talgrynrwydd cydwybot yn ei 'alwedi-
gaeth, gan bob dioddefgarwch ac iselder calon: drwy berchy,
ac vvyddhau ir Llywiawdwyr, yn ymarfer o gariat perffeith,
gan ddiosc a 'dihatru yr hen ddyn, ac ymwiscaw o Christ:
cytdwyn a'r gwan, a' charu o pawp ei gylydd yn ol
esempl Christ. Or diwedd y mae S. Paul gwe-

‡ddyundep
cytundep

dy iddo anerch y broder, yn ei hanoc i ‡ gy-
fundep, ac yn erchi cilio rac precceth-
wyr geuawc, a' thrythwyr,
ac velly y mae yn dibe-
nu a gwedi.

# Epistol Paul yr Apostol at y Ruueinieit.

## Pen. j.

Paul yn dangos y gan bwy vn, ac i ba beth y galwyt ef. Y barawt wyllys ef. Pa beth yw 'r Euangel. Mwyniant creaduriaerit ac y ba beth y gwnaethpwyt hwy. Ancaredigrwydd, drigioni a' phoen pop ryw ddyn.

PAul gwasanach vvr Iesu Christ vvrth galwedigeth yn Apostol, wedyr * 'ohanu i precethu'r Euangel Duw (yr hō a racadawodd ef drwy ei Brophwyti yn yr scrythurae glan) am ei Vap Iesu Christ ein Arglwydd ni (yr hwn oedd wneuthuredic o had Dauid erwydd y cnawd, ac a declarwyt yn ‡ nerthol y vot yn Vap Duw, erwydd yspryt sancteidiat * gan y cyfodiad diadigaeth o veirw) trwy'r hwn yd erbiniesā ni 'rat ac ‡ Apostoliaeth (er bot uvyddot ir ffydd) * yn y Enw ef ym-plith ‡ yr oll Genetloedd, ymysc yr ei n ydd yw chwi hefyt yn 'alwedigion Iesu Christ: A toch oll yr ei 'sydd yn

*ddidolit.
‡'r ymsiol
*drwy
‡swydd Apostol
*bleit
‡pop ryw

Ruuein caredigion gan Dduw, galwedigion y vot yn Sainctæ: Rat vo y'wch a'*thangneddyf y gan Dduw ein Tat, a' chan yr Arglwydd Iesu Christ. Ac yn gyntaf y diolchaf i'm Duw trwy Iesu Christ trosoch vvi oll, o bleit bot eich ffydd chvvi yn gyoeddus ‡ tros yr oll byt. Can ys bot Duw yn test ymy (yr hwn wyf yn ei wasanaethu yn vy yspryt yn Euangel y Map ef) vy-bot yn *ddibaitt yn gwneuthur coffa durieth am danoch, yn 'oystadawl yn vy-gweddiau, yn ‡ erchi, ar bot ymy rhywon ryw vodd o'r dywedd ryw bryd gael rwydd-hynt * gan wyllys Duw, y ddyvot atoch. Can ys bot yn hiraethus genyf * nes eich gwelet, val y gallwyf gyfranu i ychwi ryw ddawn ysprytawl, er mvvyn eich cadarnhay, 'sef yw hyny, er cael cyd*ymddiddanu a chwi, trwy ffydd y gylydd, sef ‡ eich vn chwi a'r vevi. *Can hyny broder, mi wyllyswn na baech yn anwybot, ‡ modd y pwrpasais yn vynech ddyvot atoch (and darvot vy-rhwystro yd hyn) val y caffwn beth ffrwyth hefyt yn eich plith chwithe, megis y mae y mi ymplith y Cenetloedd eraill. Dyledwr wyf ac ir Groecieit, ac ir Barbarieit, ‡ac ir doethion, ac ir andoethion. Wrth hyny, yd y mae yno vi, parot wyf i*Euangelu y chwithe hefyt ys yd yn Ruvein. Can nad cywilidus-genyf Euãgel Christ: o bleit gallu Duw yw hi er ‡iechyd vvrieth i bawp vn 'sy yn credu, ir Iuddew yn gyntaf, a' hefyt ir Groecwr. Can ys *trwyddei hi y ‡ datcuddir cyfiawnder Duw, o ffydd i ffydd: megis y mae yn scrivenedic, Y cyfiawn a vydd byw * gan ffydd. Can ys digofein Duw a ddatcuddiwyt o'r nef yn erbyn pop andwy-

oldeb

*heddwch
*ddidor
‡trwy, rhyd
*erbynied, adolwyn
‡drwy
*am gael
‡yn eich plith
*ymddyddan, ymgonfforddio
‡yr ydd chwi
*Yr owron
‡y'odd
‡ys
*bregethu'r Euangel
‡cadwedigaeth
*wrth
‡amlyceir, eglurir, e ffennir
*wrth trwy

wder, ac ancyfiawnder dynion, sef yr ei y attaliant y gwirionedd mewn ancyfiawnder, can ys cyme‐int ac aller ei *wybot am Dduw, y sydd ‡ amlwc yntwynt vvy: can ys Duw ei * amlygawdd yddynt. O bleit y anweledigion bethe ef, nid amgen, ei ‡ veddiant tragyvythawl a'i * Ddywdab, vvy a welir wrth *creaduriaeth y byd, gan bod ystyried y weithredoedd ef, megis y byddent yn ddiescus: O bleit ac yn hwy yn adnabot Duw, nys roeson-ogo niant yddaw megis y Dduw, ac ny ddiolchesant, eithyr ymwacau o hanynt yn ei ‡ rhesymae, a'i calon *ampwylloc oedd yn llawn tywylluch. Pan wybuant y bot yhunain yn ddoethion, ‡ ynbydion oeddent vvy. Can ys wy a * ysmudesant 'ogoni‐ant yr anllygredic Dduw i ‡ lun delw lygredic dyn, ac *ehediait, ac anifeilieid-pedwar ‡ carnol, ac ymlyscieit. Erwydd paam y rhoes Duw hwy i vynydd i ddrychwante eu calonae, i aflendit, y *wara eu cyrph y hun yn y plith ei hunain: sef yr ei a drawsent wirionedd Duw yn gelwydd, ac a ‡ addolēt ac a wasanaethent y creadur, * a-gady-heibio y Creawdwr, yr hwn 'sydd yn ‡ vendigedic yn oes oe‐soedd, Amen. O bleit hyn y rhoddes Duw hwy i vynydd i * chwantae gwarthaus: can ys ei ‡ gw‐ragedd hwy a newidiasant yr arver * anianawl yr hwn ys ydd yn erbyn ‡ anian. Ac yn gyffelyp hefyd y * gwyr y adawent yr arver anianawl ‡ o'r wreic, ac a ymloscent yn ei chwant * wrth eu gy‐lydd, gan ir gwyr-ryvv weithio ‡ croesaneth a'r gwyr-ryvv, a' derbyn ynddyn y hunain cyfryw da‐l ydd oedd ei * cyfeiliorn ac oed addas. Can ys megis

*adnabot
‡oleu, eglaer
*dangosodd
‡allu, nerth
‡ddywdot
*wneuthuriad
‡trawsffeddylie
*cuell, lledynbyd,
‡ffolieit, cuell
*newidiesant, droesā
‡gyffelyprwydd
*adar
‡troedioc
*gwradwyddo, cywilyddio, halogi
‡anrydedēt
*eb, yn blwynar, gan wrthot
‡volianedic,
*wniae, gwradwyddus
‡merched
*naturioll
‡natur
*gwyr le ffels

na bu wiw ganthwynt vvy adnabot Duw, velly y
rhoes Duw hwy i vynydd i veddwl *an-ynad, y
wneuthur y petheu ny chygwedāt, ac vvy yn llawn
o bob ancyfiawnder, ‡ fforniccrwydd, enwiredd *cu-
pydd-dra, drugioni, yn llawn cenvigē, a lladd-celain,
cynen, hocced, ‡ dryc-anwydae, yn hustingwyr, yn
athrodwyr, yn ddigasoc ganthyn Dduw, yn ‡ an-
cyfarchwyr, yn beilchion, yn ffrostwyr, yn ddy-
chymygwyr drygeu, yn *anuvyddion y ‡ rieni, yn
*ampwyllogion, yn rei yn tori ammot, ‡ eb-gan-
thyn-gariat-naturiol, ‡ yn dalha-galanasdra, yn
antrugarogion. Yr ei, er eu bot yn adnabot *De-
ddyf Duw, may pwy rei pynac a wnant gyfryw
bethae, eu bot yn deilwng o angae, ac nyd yn unic
bot yn gwneuthu'r y petheu hyn, amyn hefyt cyd-
synnio a'r ei 'sy yn ei gwneuthur.

*ampwyllic
‡godneb
*trachwāt
‡anynadrwydd, gwrthwyll
‡ororwsion
*anorthous
‡dad a'mam
*andeallus
‡yn ulwng, eb darpar ymgeledd, yn ddiarbot
*Cyfraith

## Pen. ij.

Gyrru ofn y mae ef ar y geusaint a barn Duw, Ac yn co-
ffordio y ffyddlonieid. Er mwyn curo i lawr pop [illegible]
anwybodaeth, sancteiddrwydd, a'thras Duw, y [illegible]
yn provi bot pawb yn pechaduriait, Y Cenedloedd [illegible]
ei cydwybot, Yr Iuddaeon wrth y Ddeddyf yscrifen[illegible]

CAn hyny diescusod wyt, * ti ddyn
pwy pynac a verny: can ys yn y
hyn y barny arall, ‡ ith cydvern[illegible]
dyhun: can ys ti yr hwn wyt yn
barnu arall, wyt yn gwneuthur y
un petheu. Eithyr gwyddom bot
barn

*a, o:
‡ty ddamny

Duw *yn ol gwirionedd, yn erbyn yr ei y wnant ‡gyfryw bethau. Ac a dybydi hyn, a ddyn, a vernyd yr ei a wnant gyfryw bethau, ac a wnai yr vnryw, y diengy di rac barn Duw? Neu a ddiystyru di *'olud y ‡ddayoni ef, ai ddyoddefgarwch, ai *ammynedd, eb gyfadnabot bot daioni Duw yn dy ‡arwein di y ediverwch? Eithyr tydi, herwydd dy galedrwydd a' chalon anedifeiriol, wyt yn *tyrru y tyun ddigofeint yn erbyn dydd y digofeint ac ymatguddiad cyfiawnbarn Duw, yr hwn a dal i bawp vn erwydd ei weithredoedd: sef, ir ei gan barhau yn gwneuthur daioni, a geisiant ogoniant, ac anrydedd, ac ‡anllygredigaeth, bywyt tragyvythawl: eithyr ir ei sy yn *cynnenus ac nyd vvyddhant i wirionedd, ac yn ymvvyddhay i ‡enwiredd y bydd llid a' digofaint. *Trwbl ac ing vydd ar eneit pop dyn a wna ddrwc: ‡yddo'r Iuddew yn gyntaf, ac hefyt yddo'r Groecwr. Eithyr i bop vn a wna ddaioni, y bydd gogoniant, ac anrydedd, a' thangnheddyf, ir Iuddew yn gyntaf, a' hefyt ir Groecwr. Can nad oes derbyn *braint wyneb ‡gar bron Dduw. O bleit pa sawl bynac a bechasant ‡yn ddi-ddedyf, a gyfergollir hefyt yn ddi-ddedyf: a' pha sawl bynac a pechasant yn y ddedyf, wy a vernir *wrth y Ddeddyf. Can ys nyd gwrandawyr y Ddeddyf ynt yn gyfiawn ger bron Duw: eithyr ‡gwneuthurwyr y Ddeddyf a gyfiawnheir. O bleit pan *vo y Cenetloedd yr ei nid yw'r deddyf ganthynt, yn gwneuthur wrth ‡anian y pethau 'sy yn y ddeddyf, y'n hwy eb bot y ddeddyf ganthynt, ynt ddeddyf yddyn y hunain, 'sef

*herwydd
‡sut
*amylder
‡vwynder
*ymaros, vonedd-geidrwydd
‡wahodd, dywys
*cascly
‡anvarwoldep
*ymrysongar
‡ancyfiawnder
*Gorthrymder
‡enaid yr
*anfodd-dynol
‡gan
‡eb y gyfraith
*gan, trwy
‡cyfianwyr
*yw
‡natur

yr ei a ddangosant * weithret y Ddeddyf yn scrifenedic yn eu caloneu, a' ei cydwybot vvy hefyt yn cyd-testolaethu, ai meddyliae yn ‡ cyhuddo y gilydd, nei yn escusodi,) yn y dydd pan varno Duw ddirgeloedd dynion trwy Iesu Christ, erwydd yr Euangel vevvi.

Wely, Iuddew ith elwir di, a' gorphywys ydd wyt yn y Ddeddyf, ac yn * ymlawenhau yn-Duw, ac yn gwybot y wyllys ef, ac yn ‡ darbot petheu rragorol, erwydd dy addyscy gan y Ddeddyf: ac wyt yn coylio dy vot yn ‡ dywysoc ir deillion, yn llewych ir ei ysy yn-tywyllwch, yn athro trampwyllogion, yn ddysciawdr ir ei andyscedic, a chenyt ffurf * gwybyddiaeth, a'r gwirionedd * yny Ddeddyf. Tithe gan hyny rhwn a ‡ dyscy arall, a n'ith ddyscy dyhun? ti yr hwn a precethy na ledrataer, a ledretty di? Ti yr hwn a ddywedy, Na ‡ wnaed ney 'odineb a wnai di 'odineb? ti rhwn 'sy yn gas genyt * eidolae, a gyssegr-yspeily di? Ti rhwn a ‡ ymhoffy yn y Ddeddyf, trwy dorri'r Ddeddyf a * ddianrydeddy di Dduw? Can ys Enw Duw a ‡ geplir yn-plith y Cenetloedd * och pleit chwi, megis y mae yn escrifenedic. Can ys enwaediat yn wir a wna lles, a's cedwy y Ddeddyf: eithyr a's torrwr y Ddeddyf vydy, ef aeth dy enwaediat yn ‡ ddienwaediat. Can hyny a's y dienwaediat a gadw * gyfreithiae y Ddeddyf, any chyfrifir y dienwaediat ef yn enwaediat? Ac any bydd ir dienwaediat yr hwn 'sy wrth ‡ anian (a's caidw y Ddeddyf.) dy varnu di yr hwn wrth y llythyren a'r enwaediat vvyt yn torri y Ddeddyf? Can nad yw ef yn Iuddew, yr hwn

'syn

*grym
‡achwyn
*ymhoffy, ath arvoledd
‡gwybot gohanion
‡arwenwr
*gwybodaeth
‡trwy, gan
*dangosy y
‡thored nep priodas.
*ddelwen
‡ymryfygy
*ddiystyry
‡ddibenwir
*trywoch
‡circūcisio, cylchdoriat blaengroeniat
*gyneddfe, deboddae
‡natur

yn vnic o vyallan: ac nid enwaediat yw hwnw, yn vnic o ydd allan yn y cnawd: eithyr efe yw Iuddew yr hwn 'sy vn oddy mewn, a'r enwaediat 'sy ‡ ir galon, sef yn yr yspryt, nyd yn y llythyren, a'r ei voliant nyd yw o ddynion, amyn o Dduw.

‡rrad
*o'r

## Pen. iij.

Gwedy iddo ganiadu peth ragorvraint ir Iuddeon, o bleit ‡ffydd a' dianwadal addewit Duw. Y mae ef yn provi wrth yr Scrythurae, bot pop vn yr Iuddaeon a'r Cenetloedd yn pechatureit, A' bot ei cyfiawnhau hwy * gan rad trwy ffydd, ac nid can weithredoedd, Ac velly bot cadarnhau y Ddeddyf.

‡rrad
*trvvy, ras

Pa *ragorieth gan hyny 'sy ir Iuddew: nei pa les 'sy o'r enwaediat: Llawer ym pop rhyw vodd: can yn bennaf, am 'orchymyn yddwynt wy ‡ymadroddion Duw. O bleit beth, er nad oedd 'rei yn credu: a wna y ancrediniaeth hwy * ffydd Duw yn ‡ddi rym: Na* bo hyny: eithr bid Duw yn ‡grwir, a' phop dyn yn gelwyddoc, megis ydd scribennwyt, Mal ith cyfiawnheir yn dy 'eiriae, ac y gorvot pan ith varner. Velly a's ein anwiredd ni a gymenna * wirionedd Duw, pa beth a ddywedwn: a ydyw Duw yn ancyfiawn yr hwn 'syn roi ‡ poen (dywedyt ydd wyf val yn ol dull dyn.) ymbell yw: nei ynte pa wedd y barn Duw

*dyrchafieth
‡roddy
*ymddiddaneu, geiriae
*addewit
‡over, gwac, ddiffrwyth
*ato Duw, bi dymbell.
‡airwir
*gyfiander
‡ddial

y byt? O bleit a's gwirionedd Duw vu ehelaethach trwy vy-celwydd i yvv 'ogoniant ef, paam mwyach im bernir in ef mal pechatur? Ac (megis in * gogonir, ac megis y'sygana rei ein bot yn dywedyt) paam na wnawn ddrwc, val y del da o hanavv? yr ei'sy gyfion ei barnedigeth arnynt. Beth am hyny? a ym ni mwy ragorawl? Nag ym ddim oll: can ys provesam eisioes, bot pawp yr Iuddaeon a'r Cenetloedd y dan bechot: megis y mae yn scrivenedic, Nyd oes nep cyfiawn, nac oes vn. Nyd oes nep a ddyall: nyd oes nep a ymgais a Dduw. VVy aethont oll oddyar y ffordd: wy aethon y gyd oll yn anvuddiol: nyd oes neb a wna ddaioni, nac oes * neb un. Bedd agoret yvv eu ‡ mwngl: ei tavodae a arverasont er twyllo: gwenwyn * nadroedd ys id y dan ei gwefusae. yr ei'sy a'ei geneu yn llawn rhegy, a' chwerwed. Ys buan yvv ei traet y ellwng gwaet. ‡ Artaith ac aflwydion 'sy ar ei ffyrdd. A' ffordd tangneddyf ny's adnabuont. Nyd oes ofn Duw ger bron ei llygeit. A' gwyddom * mai pa bethe bynac a ddywait y Ddeddyf, mae wrth yr ei'sy dan y Ddedyf y dywait hi, ‡ yn y chaeer pop geneu, ac y ny bo yr oll byt yn euoc geir bron Duw. Am hyny * can weithredoedd y Ddeddyf ny chyfiawnheir ‡ vn * cnawd yn y'olwc ef: o bleit can y Ddedyf y cair adnabodedigeth pechot. Ac yr owon yr eglurwyt cyfiawnder Duw eb y Ddedyf, y gan destiolaeth y Ddedyf a'r Prophwyti, ys ef, cyfiawnder Duw trwy ffydd Iesu Christ, i bawb, ac ar bawp a credant. Can nad oes 'ohanieth: can ys pechod pawp, ac ynt yn * ol

am

*ceplir, belir

‡aflesol, amprofitiol

*hyd vn

‡gwddwc

*lindys, aspieit

‡Distriw, dinistr

*taw

‡val &c.

*wrth

‡neb

*dyn

*ddefficiol

am ogoniant Duw, ac wy a gyfiawnir yn * rhat yn ddrwy y ‡ rat ef, trwy'r prynedigaeth ysydd yn Christ Iesu, yr hwn a osodes Duw yn * gymmot trwy ffydd yn y waed ef y ddangos y gyfiawnder ef, ‡ can baddeuant y pechoteu * oeddent gynt, drwy ‡ ddyoddefiat Duw, y ddangos y pryd hyn y gyfiawnder ef, mal y byddei ef yn gyfiawn, ac yn cyfiawnhau y neb ysydd o ffydd Iesu. P'le gan hyny y mae'r ffrost? E gaywyt allan. Trwy pa ddeddyf? Ai vn y gweithredoedd? Nac ef: eithr can ddeddyf ffydd. Yddym ni yn * ddibenny gan hyn bod yn cyfiawnhau dyn eb weithredoedd y ddeddyf. Duvv, ai Duw'r Iuddeon yw ef yn vnic, ac nyd ir Cenetloedd hefyt? Yn wir, y mae ef ir Cenetloedd hefyt. Can ys vn Duw ytyvv, yr hwn a gyfiawnha yr enwaediat o'r ffydd, a'dienwaediat trwy ffydd. A ydym ni velly yn gwneuthur y ddeddyf yn ddirym trwy'r ffydd? Ymbell oedd: 'sef ydd ym yn cadarnha y ddeddyf.

* ddolwnus
‡ ras
* gyssyl
‡ trwy
* or blaen
‡ ymaros
* gorboledd, ymhoffi
* gyrru, crynoi

## Pen. iiij.

Y mae ef yn datcan bot cyfiawnhat yn ddawn trad, a'thrwy y cyfryw rei yhunain, sef am yr ei y ffrostiai yr Iuddeon yn bennaf, megis am Abraham, ac am Dauid. A' hefyd wrth swydd y Ddeddyf, a' ffydd.

Pa beth gan hyny a ddywedwn, gahel o Abraham ein tad erwydd y cnawd? Can ys a's Abraham a gyfiawnwyt * gan weithredoedd, may iddo achos ‡ gorboledd, eithyr nyd

* am, trwy
‡ ffrost, bost gorhoffedd

*geir brō Duw. Can ys pa beth a ddyweit yr Scryp-
thur 'lan? Credawdd Abraham y Dduw, ac ei
cyfrifwyt iddaw ‡ yn gyfiawnder. Ac ir neb a
weithia, ny chyfrifir y cyflog *erwydd ‡rhat, anyd
o erwydd dlyed. Eithyr ir neb ny weithia, anyd
credu yn hwn a gyfiawnha yr *enwir, y ffydd efa
gyfrifir yn gyfiawnder. Megis ac y datcan Da-
uid ‡ ddedwyddwch y dyn, yr hwn y cyfrif Duw
yddo gyfiawnder eb weithredoedd, gan ddyvvedyt,
* Ys dedwyddion yr ei, y maddeuwyt eu hanwi-
reddae, a'r ei y gorchuddiwyt ei pechotae. Ys ded-
wydd y gwr, ny ‡ chyfrif Duw bechot y-ddaw. A
ddaeth y dedwyddid hyn ar yr enwaediat yn vnic, ai
ar y dienwaediat hefyt? Can ys-dywedwn, ddarvot
cyfrif y ffydd i Abraham * yn lle cyfiawnder. Pa
bodd y cyfrifwyt hi? ai gwedy enwaedu arno, ai
cyn enwaedu? nyd gwedy yr enwaedu, anyd ‡cyn
yr enwaedu. Yno y cymerth ef arwydd yr enwa-
ediat, vegis yn insel yr ffydd 'rhon oedd gantho cyn
enwaedu arno, val y byddei ef yn dat pawp vyddei
yn credu, cyn enwaedu arnynt, mal y cyfrifit yn
cyfiawnder yddwynt vvy hefyt, ac yn dat yr enwa-
ediat, nyd yddynt wy yn vnic yr ei o'r enwaediat
anyd ir sawl hefyt a gerddant ‡ ar olion ffydd ein
tat Abraham, 'rhon oedd ganto cyn yr enwaediat.
Can ys yr addewit ar iddo bot yn etifedd ir byt,
ny roed i Abraham, nei * yw had, trwy'r ddeddyf,
anyd trwy gyfiawnder ffydd. Can ys a's yr ei y
sydd o'r ddeddyf ‡ yvv'r etifeddion, ys gwacavvyt
ffydd, ac ys * dir ymiwyt yr addewit. O bleit y dde-
ddyf a bair ‡ digofeint: can ys lle nyd oes deddyf,
nyd

*gyd a
‡dros, am
*yn lle
‡gwobr, sy-berwyd
*annuwiol
‡wynvydedicrwydd
*Gwynvydedic
‡liwio
*liwiodd
*Yr Epistol ar ddydd Enwaediat Christ.*
*dros
‡in præputio, blaen-groen
‡yn llwybre
*yddy
‡ynt, yn
*ofer
‡llid

ydoes *camwedd. Can hyny o ffydd y mae yr etive-
ddiaeth, val y del trwy rat, a' bot yr addewit yn ddi-
sicir holl had, sef nyd yn vnic ir hwn ysydd o'r ddd-
deddyf: anyd hefyt ir hwn ysydd o ffydd Abraham,
yr hwn yw ein tad ni oll, (megis y mae yn scrivene-
dic, Mi ath wnaethym yn dat llawer o genedloedd)
sef geir bron Duw yr hwn a gredawdd ef, yr hwn
a fywocaa 'r meirw, ac a 'ailw y petheu nyd ynt,
val *pe baent. Yr hwn Abraham ‡tros ben gobeith,
a gredawdd y dan 'obeith, val y bydei yn dat Ce-
nedloedd lawer: erwydd hyn a dywedesit vvrthavv,
velly y bydd dy had di. Ac ef e nyd yn egwan *o ffydd
ny ystyriawdd y gorph y hunan, yr hwn oedd
weithio wedy ‡marweiddio, ac yn cylch can blwydd
oed, na *marwoleth bru Sara. Ac nyd amhena-
wdd ef addewit Duw o ancredyniaeth, eithyr e
nerthit yn y ffydd, ac a roes 'ogoniant i Dduw, gan
bot yn gwbl ‡ddiliis ganto, am yr hwn a addawsei,
y vot ef hefyt yn abl yvv *wneuthur. Ac am hyny
y cyfrifwyt iddaw yn gyfiawnder. Ac nyd scriven-
wyt hyny er y mwyn ef yn vnic, gyfrif hyn yddaw
yn gyfiawnder, eithyr hefyt erom ninne, ir ei y cy-
frifir yn gyfiavvnder, y sawl a gredwn yn yr hwn a
gyvodes Iesu ein Arglwydd o veirw. Yr hwn a
roddet i angeu dros ein pechotae, ac a adgyfodwyt
er ein cyfiawnhat ni.

## Pen. v.

Yn declario ffrwyth ffydd. Ac wrth gyffelybwrieth y mae ef yn espyssu cariat Duw ac vvyddtot Christ, yr hwn yw sail a' grwndwal yr vnryw.

Can

*trosedd, tordeddyf, sarhaed, trespas

*petent

‡tuhwnt i 'obeith

*yn y

‡llescau

*llesced bol croth, mam

‡ddiogel, sicr

*gwplau

Can ein cyfiawnhau ni * can ffydd, y mae genym dangnedyf tu ac at Dduw trwy ein Arglwydd Iesu Christ. Trwy'r hwn hefyt y may i ni ‡ ffordddoliat trwy ffydd * i'r rat hyn, * yn yr hwn yð ym yn sefyll, ac yn ‡ ymlawenychu dan 'obeith y gogoniant Duw. Ac nyd ym yn gwneuthur hyn yn vnic, eithyr hefyd ydd ym yn ymlawenychu yn * gorthrymderon, gan i ni wybot may gorthrymder a ddwc ‡ ddioddefgarwch, a' dioddefgarwch, brofiat, a' phrobiad 'obaith, a' gobaith ny chywilyddia, bot cariat Duw wedyr * ddineu yn ein caloneu can yr yspryt glan, yr hwn a ‡ roespwyt i ni. Can ys Christ, pan oeddem eto yn ddinerth yn ei amser a vu varw dros yr annuwolion. Diau mai braidd y bydd neb varw dros vn cyfiawn: er hyny dros vn da ef allei y beiddiai vn varw. Eithyr y mae Duw yn eglurhau ei gariat * tu ac attam, o bleit a nyni yn pechaturieit, marw o Christ trosom. Mwy ynte o lawer, can ddarvot ein cyffiawnhau ni weithion ‡ can y waet ef, in iachëir rac digofeint trwyddaw ef. Can ys a's pan oeddem'elynion eyn * cyssylieit a' Duw ‡ gan angeu y Map ef, mwy o lawer wedy'n cyssilio, in iacheir gan y * bywyt ef. Ac nyd yn vnic hyny, eithyr ymlawenychu ddym hefyt yn-Duw trwy ein Arglwydd Iesu Christ, can yr hwn yr awrhon y ‡ derbyniesam * y cyssyl. Erwydd pa bleit, megis trwy vn dyn y daeth pechat ir byt, ac angae trwy pechat, ac velly yd aeth angae dros bop dyn: yn gymeint a' phechu o bavyb oll. Ca

ys yd

*trwy
‡gychwyniat
*at y gras
*wrth
‡ymhoffyi
*tryble, trallode, cyfelri
‡an-myned ymaros
*dywallt
‡roddet
*i ni, arnā
‡trwy, wrth
*cymmodwyt, heddychwyt
‡trwy
*buchedd
‡cawsam
*cymmot, heddychiat

ys yd amser y Ddeddyf ydd oedd pechat yn y byt,
eithyr ny chyfrifir pechot, pryd nad oes Ddeddyf.
Eithyr angeu a deyrnasawdd o Adda yd *Moysen,
ar ennynt wy hefyt a'r ny phechhasant yn ol cyffe-
lypiaeth y camwedd Adda yr hwn ‡ yw * ffurf yr
hwn a ddauei. Eithr nyd yw'r ‡ dawn velly, megis y
mae'r camwedd: o bleit a's trwy gamwedd vn, y
bu veirw llawer, mwy o lawer rhat Duw, a'r dawn
trwy rat, yr hyn'sy trwy vn dyn Iesu Christ, a
[illegible]edigawdd i lawer. Ac nyd yw'r dawn velly,
megys y peth a ddeuth y mewn trwy'r vn a bechawdd:
canys y bai a ddaeth o'r vn camvvedd i ‡ barnedigeth
eithyr y dawn 'sydd o gamweddae lawer *i gyfi-
awnhad. Canys a's trwy gamwedd vn, y teyr-
nasawdd angae trwy vn, mwy o lawer y bydd i'r
rei a dderbyniant y lliosogrwydd o rat, ac o ddawn
cyfiawnder, deyrnasu ym-bywyt trwy vn, 'sef
Iesu Christ. Canys yr vn modd megis trwy gam-
wedd vn y ddaeth y bai ar bawb dyn er barnedigeth,
velly trwy gyfiawnhat vn y lliosoceit y davvn i bop
dyn er cyfiawnhat bywyt. O bleit megis trwy
anufydddot vn dyn y gwnaethpwyt llawer yn pe-
chaturieit, velly trwy vfyddot vn y gwnair llawer
yn gyfiawn. Hefyt y Ddeddyf a ddaeth y mywn
er amylhau camwedd: er hyny lle'r amylhaodd
pechot, yno y tra amylhaodd rhat yn vwy o lawer: y
ny byddei megis y teyrnasawdd pechawt ir angeu,
velly bot hefyt i rat deyrnasu drwy gyfiawnder i
bywyt tragywythawl, trwy Iesu Christ ein Argl-
wydd.

*y Moysen
‡oedd
*Vun, de-lw, ffigur
‡rhodd
*amylhaodd
‡ddamne-digeth
*er cyf.
‡angwane-gu

¶Pen

## Pen. vj.

Er mwyn na byddei i neb ymhoffi yn y cnawd, eithyr yn hytrach ceisio ei ddarestwng e ir yspryt, y mae ef yn dangos trwy rinwedd a' dywedd Betydd, Bot ail-enedigeth yn gyssylltedic a chyfiawnder, ac am hyny yr annoc ef bucheddu dduwiol, Gan 'osot yn-gwydd golwc dyn wobr pechot a' chyfiawnder.

Yr Epistol y ni Sul gwedy Trintot.
*ymbell bo
‡a nyni
*yn
‡yw, yddy
*dep
‡o'n
*cysylltwyt
‡ar trwy
*wrth
‡dinerthu, difa
*yn ol hyn, mwyach
‡warcdwyt
*ydym
‡tuac am

BEth wrth hynny a ddywedwn ni a drigwn ni yn wastad mewn pechot er amylhau rhat? *Na ato Duw. Pa wedd y byd ‡ ir ei ydym yn feirw i bechot, byw eto ynddo? Any wyddoch, am danom ni oll y sawl a betyddiwyt *ir Iesu Christ, ddarvot ein betyddio ni ‡ yn y angeu ef? In claddwyt ni gan hyny y gyd ac ef trwy betydd yn y angeu, bal megis ac y cyfodwyt Christ o veirw gan 'ogoniant y tat, velly bot i ni hefyt rodio yn newydd * vvch buchedd. Can ys ‡ a's in *cydhimpiwyt ni ac ef ‡ i gyffelypiaeth y angeu ef, ac velly y byddwn ni *i gyffelypieth y gyfodiat ef, can wybot hyn, ddarvot crogy ein hen ddyn ni gyd ac ef, er mwyn ‡ dirymio corph pechot, megis * rac llaw na wasanaethom bechot. Can ys hwn a bu varw, a ‡ ryddhawyt y wrth pechot. Can hyny a's meirw * ni gyd a Christ, credu ydd ym y byddwn byw hefyt gyd ac ef, gan wybot am Christ gwedy ei gyfodi o veirw, na bydd marw mwyach: ac nad arglwyddia angeu arno mwyach. Can ys ‡ o ei varw, e

tw, e bu barw unwaith y bechot: ac *o ei byw, byw ‡y mae i Dduw. Velly *dyellwch chwithe hefyt, ych meirw chwi y bechot, a'ch bot yn byw y Dduw yn-Christ Iesu ein Arglwydd. Na theyrnaset gan hyny pechot yn eich corph marwol, er ychvvy vvyddhau ‡ yddaw yn chwantae y corph. Ac na rowch eich aelodae yn arveu anwiredd i bechot: eithyr rhowch eich hunain y Dduw, megis rei o veirw yn byw, a'rhovvch eich aylodae yn arvae *gwiredd i Dduw. Can ys nyd arglwyddiaetha pechot arnoch: can nad ych y dan y Ddeddyf, anyd y dan rat. Beth am hyny? a bechwn ni, am nad ym y dan y Ddeddyf, ‡ amyn dan rat? Na ato Duw. Any wyddoch, mae i bwy bynac yr ymroddoch ychu ... yn weision y vvyddhau, eich bot yn weision ir hwn yr vvyddhaoch y-ddaw, ai yn vveison y bechot ... angeu, ai yn vveison vvyddot i *wiredd? And y Duw y ddiolvvch, can eich bot chvvi gynt yn weision pechot, eithyr vvyddhau o hanoch o'ch calon ... ar ddysc, ir hwn ich ‡ athrawyt yndo. Can ... ych vvyddhau chvvi yworth pechawt, ich gwnaethwyt yn weision *gwiredd. A'r dull-dynol yr wyf yn ymadrodd, o bleit gwendit eich cnawt chvvi: canys megis y rhoesoch eich aylodae yn weision aflendit ac ‡ anwiredd y vvneuthur enwiredd, velly yr awrhon rhowch eich aylodeu yn weision i wiredd mewn sancteiddrwydd. Can ys pan oeddech yn weision pechawt, yr oeddech yn rhyddion yworth *wiredd. Pa ffrwyth ‡ oedd y chwi y pryd hyny yn y cyfryw betheu, * ac y cywilyddiwch yr awrhon? Can ys dywedd y petheu hynny yw angeu.

*tuac am
‡ydyw
*meddyliwch, ystyriwch
*trwy
‡sef i bechot
*cyfiawnder
‡ond, eithr
*gyfiawnder
‡arwedwyt rhoddwyt
*cyfiawnder
*Yr Epistol y .vij. gwedy Trintat.*
‡afreol, anllywodraeth
*gyfyawnder
‡a gawsoch
*am yr ei

geu. Ac yr owrhon gwedy ych rhyddhau y wrth pechawt, ac wedy eich gwneuthur yn weision y Dduw, y mae y chwi eich ffrwyth ‡yn sancteidd-rwydd, a'r dywedd yn bywyt dragywythawl. Can ys * cyfloc pechot yw angeu: eithyr ‡ dawn Duw yw bywyt tragywythawl trwy Christ Iesu ein Ar-glwydd.

‡mewn.
*tal, taliad, taledigaeth
‡rhodd.

## Pen. vij.

Mwyniant y Ddeddyf, A' megis in gwaredawdd Christ rhagddei. Gwendit y ffyddlonion. Yr ymladd pericus rhwng y cnawd a'r Yspryt.

ANy wyddochvvi, broder, (wrth wy-byddieit y Ddeddyf y dywedaf) yr arglwyddia y Ddeddyf ar dyn tra vo ef byw? Can ys y wraic 'rhon 'sy y dan lyvvodreth gwr, 'sy yn rhwym wrth y Ddeddyf i'r gwr, tra vo e byw: anyd a bydd marw y gwr, hi ryddhawyt y wrth ddeddyf y gwr. Ac velly a's *a'r gwr yn byw y cymer hi hi wr arall, hi elwir yn ‡ 'odinabus: eithr a's marw vydd y gwr, mae hi yn rhydd y wrth y Ddeddyf val nad yw hi yn 'odnebus, er * cymeryd o honei wr arall. Ac velly chvvithe vy-broder, ydych wedy meirw ir Ddeddyf‡ gan gorph Christ, val y bydech i vn arall, sef i hwn a gyfodwyt o veirw, val y dygem ffrwyth y Dduw. Can ys pan oeddem yn y cnawd, * gwniae pechotae, yr ei n oedd ‡ drwy nerth y Ddeddyf, *vyddent-mewn-grym yn ein aelodae, y ddwyn ffrwyth i angeu. Ac yr awrhon in rhyddhawyt y wrth y Ddeddyf, gwedy ein meirw ir:

*tra:&c:
ymyw yr
gwr:
‡orddercheddwraic
*priodi:
‡trwy.
*chwante
‡oddiwrth
*yn gwei-thio; gynyrchent.

twir peth in attalit, val y gwasanaethem yn ne-
wydeb yspryt, ac nyd yn ‡hendeb y llythyren. Beth
gan hyny a ddywedwn? Ai pechot yvv'r Ddeddyf?
ymbell oedd. Eithyr nyd *adnabum i pechot, a nyd
wrth y Ddedyf: can nyd adnabeswn i drachwant
any ddywedesei'r Ddedyf, Na *chwenych. Ac a
gymerth pechawt achos gan y gorchymyn, ac a
weithiawdd ynof bop trachwant: can ys eb y
Ddedyf, ys marw pechot. Can ys mi a vum gynt
yn byw eb y Ddedyf: and pan ddaeth y gorchymyn
yr adfywiodd pechot. A' mi a vum varw: a'r gor-
chymyn hwn a ‡arlvvyesit i vywyt, a gahad y vot
i mi yn angeu. Canys pechot a gymerth achos
trwy'r gorchymyn, ac am twyllawdd, ac wrth hyny
im lladdawdd. Ac velly sanctaidd yw'r Ddeddyf,
a'sanctaidd yw'r gorchymyn, a' chyfiawn, a' da.
Can hyny a wnaethpwyt y peth oedd dda, yn an-
geu i mi? Na ato Duw: eithyr pechot, er iddo ym-
ddangos yn bechot, a weithiawdd angeu ynof
trwy yr hyn ysy yn dda, val y byddei pechot yn
dra phechadurus trwy'r gorchymyn. Can ys gwy-
dam bot y Ddeddyf yn yspryttawl: a' minef yn
gnawdawl, wedy vy-gwerthu y dan bechawt.
Can nad cymradwy genyf yr hyn wyf yn y wneu-
thur: can ys hyn y wyllyswn, hyny nyd wyf yn y
wneuthur: eithyr ysy gas genyf, hyn yr'wyf
yn ei wneuthur. Ac ad wyf yn gwneuthur yr hyn
nyd wyllyswn, ydd wyf yn cydsynio a'r Ddeddyf
y bot hi yn dda. Velly yr owon, nyd mivi 'sy in wy
yn gwneuthur hyny, amyn y pechawt ysy yn tri-
giaw ynof vi. Can ys gwn, nad oes ynof vi, ys ef

‡heneint, hender

*adnabuo

*thrach-wanta

‡ordinesit

*barawt

yn vy-cnawd i, ddim da yn trigiaw: o bleit yr wyllysio ysy * gydrichiol genyf: eithyr nad wyf yn medry cwplau yr hyn 'sy dda. Can nad wyf yn gwneuthur y peth da, a ewyllyswn, anyd y drwc rhwn nyd wyllyswn, hyny ddwyf yn y wneuthur. Velly a's gwnaf, yr hynn nyd wyllysia vi, nyd myvi aei gwnaf, anyd, y pechat rhwn a drig ynof. Ydd wyf gan hyn yn cahel wrth y Ddedyf, pan wyllyswn wneuthur da, bot y drwc yn gynnyrchiol genyf. Canys y mae yn ‡ hoff genyf Ddedyf Duw erwydd y dyn oddy mywn: eithr gwelaf Ddedyf arall yn vy aelodeu, yn * gwrthladd Deddyf vy meddul, ac im caethiwo i Ddeddyf pechot, yr hon 'sydd yn vy aelodae. Ys truan o dyn vvy vi, pwy am gwared y wrth y corph yr angae hwn: ydd wyf yn diolvvch y Dduw trwy Iesu Christ ein Arglwydd. Sef gan hyny ydd wy ‡ vinef yn vy meddul yn gwasanaethu Dedyf Duw, anyd yn vy-cnawt Ddeddyf pechat.

‡boddlon, ddigrif

*ymladd, cyferbyniet

‡vybi, vyhun

## Pen. viij.

Dillyscrwydd y ffyddlonieit, ac am ffrwyth yr Yspryt glan ynthynt hwy. Gwendit y Ddeddyf, a' phwy ei cwplaodd. Ac iba beth. O ba ryw wed y dyly y ffyddlonieit ddwyn ffrwyth yr Yspryt ynddynt hwy. Am 'obeith. Am ddioddefgarwch dan y * groc. Am y cydgariat rhwng Duw a'ei blant. Am y racwybodaeth ef.

*groes

CAn hyny ynte nyd oes ddim * gollvarnedigaeth ar yr ei'sy yn Christ Iesu, nid amgen y sawl, ny rodiant ar ol y cnawt, eithyr ar ol yr yspryt. Can ys Deddyf yspryt y bywyt rhvvn yvv yn-Christ Iesu, a'm rhyddhaodd i rac deddyf pechot ac hon angeu. Can ys (hyn y ydoedd yn ‡ analluawc ir Ddeddyf, pan yroedd hi yn * egwan, o bleit y cnawt) Duw gan ddanvon ei Vap ehun yn-cyffelypiaeth cnawt pechaturus, ac am bechot y collvarnawdd ef bechot, yn y cnawt, y n y chyflawnit ‡ cyfiawnder y Ddeddyf ynom, yr ei ny rodiwn * erwydd y cnawd: amyn erwydd yr yspryt. Can yr ei ynt erwydd y cnawd, am betheu'r cnawd y synnwyrant: anyd yr ei'sy erwydd yr yspryt, am betheu'r yspryt. Can ys ‡ synnwyr y cnawt, angeu yvv: a' synnwyr yr yspryt, bywyt, a' thangneddyf, achos synnwyr y cnawt'sy elyniaeth yn erbyn Duw: can nad yw ddarostyngedic i Ddeddyf Duw: ac ny's dychon vot chvvaith. Can hyny y sawl ynt yn y cnawt, ny allant ryngy bodd Duw. Weithian chwychvvi nyd ydych yn y cnawd, anyd yn yr yspryt: can vot yspryt Duw yn trigo ynoch: ac a's * oes neb eb yspryt Christ ganto, ‡ nyd yw hwnvvyn yddo ef. Ac ad yw Christ ynoch, y mae'r corph gwedy marw, o bleit pechot: eithyr yr yspryt bywyt yvv er mwyn * cyfiawnder. Ac a's yspryt hwn a gyfodawdd Iesu o veirw, 'sy yn trigo ynoch, ys ef hwn a gyfodawdd Christ o veirw, a' bywoca hefyt eich cyrph marwol chvvi, can vot y yspryt

*danmedigeth
‡ampossibil
*analluoc
‡damnoedd
‡gwiredd
*ar ol
‡doethineb, dyall
*bydd
‡ny phiewydd ef hwnnw
*gwiredd

ſpryt ef yn trigo ynoch.

*Yr Epiſtol yr viij. Sul gwedy Trintot.*

Can hyny broder, ydd ym yn ddledwyr nyd ir cnawd, y byw * erwydd y cnawd: can ys a's bywbyddwch erwydd y cnawd, meirw byddwch: eithyr a's ‡ marwhewch 'weithredoedd y corph trwy'r yſpryt, byw byddwch. Can ys cynniuer ac a * arwedder gan yſpryt Duw, yr ei hyn 'sy blant i Dduw. Can na dderbyneſoch yſpryt caethiwet er ofn drachefyn: eithyr derbynieſoch yſpryt ‡ mabwysiad, trwy'r hwn y llefwn Abba, Dat. Yr unrryw yſpryt a gyd teſtolaetha a'n yſpryt ni, ein bot ni yn blant i Dduw. A d ym ni yn blant, ydd ym ni hefyt yn etiueddion, ys etiveddion i Dduw, a cyt gyd etiueddion a' Christ, ac a's cyd dyodefwn ac ef, val ac ein cydogonedir ac ef. O bleit * gadu yr wyf nad yw gofidiae yr amſer yr awrhon, yn ‡ deilwng o'r gogoniant, a ddangoſir i ni. Can ys awyddbryd y creatur 'sy yn dysgwyl pa bryd * yd atcuddir meibion Duw. Can bot y creatur yn darestyngedic i wagedd, nyd oei vodd ehun, anyd o bleit yr hwn, a ei darestyngawdd y dan 'obeith, can ys y creatur hefyt a ryddheir o gaethiwet llygrydigaeth i ‡ rydit gogoniaut meibion Duw. Can ys gwydam vot pop creatur yn * cydocheneidioni, ac yn cydtravaelu-yn ovidus yd yr amſer hyn. Ac nyd yn unic y creadur, and nineu hefyt y ſawl a gawsam blaenffrwyth yr yſpryt, sef yd ym ni yn ocheneidio ynom eyn hunain, yn dysgwyl y mab-wysiad, nid amgen prynedigaeth ein corph. Can ys wrth 'obaith in * iacheir: eithyr gobeith rhon a welir, nyd yw 'obaith: o bleit ‡ pa 'obeitho a wna-

*Yr Epiſtol ar y. iiij. Sul gwedy Trintot.*

* yn ol
‡ marwei-diwch, marwolwch
* dwyſer
‡ tadogeth, mab gynwys.
* barnu, bwrw
‡ gyſtal, gyſtedlyd, gywerthydd
* yr amlygir, eglurir
‡ vraint
* cydryddſã, cydgwynſã
* cedwir
‡ paam y gobeitha

dyn am y peth a wyl? Ac a's gobeithiwn am yr hyn ny welwn, yd ym drwy*ammynedd yn ‡ dysgwyl am dano. Ac yn gyffelyp y mae'r yspryt yn canhorthwyaw eyn gwendit ni: can na wyddam pa beth a weddiwn mal dylyem: eithyr yr yspryt yhun 'sy yn erchi drosom *ac ucheneidieu ‡ anrhaethawl. A'r hyd yr hwn a chwilia'r calonae, a wyr beth yw meddwl yr yspryt: can ys mae ef *erwydd evvyllys Duw yn erchi tros y ‡ Sainctæ. A' gwyddom bot pop peth yn cydweithio * ir hyn gorau, ir sawl a garant Dduw, sef ir ei a 'alwyt erwydd y ‡ pwrpos ef. Canys yr ei y ragwybu ef, yr vvrei hefyt a rac luniawdd ef y bot yn * unffurf a' delw y Vap ef, val y byddei yn gyntenid ym-plith brodyr lawer. Yr sawl a * racluniodd ef, yr ei hyny hefyd a alwodd ef, a'r ei a alwodd, reini hefyt a gyfiawnhaodd ef, a'r ei a gyfiawnhaodd ef, yr ei hyny hefyt a'ogoneddawdd ef. Beth ynte a ddywedwn ni wrth y pethe hyn? A's yw Duw ‡ ar ein tu, pwy all vot in herbyn? Yr hwn nyd arbedawdd ei ‡ briawt Vap, anyd y rody ef drosom ni oll y angeu, py wedd y gyd ac ef na ryd y ni bop peth hefyt? Pwy a ryd ddim yn erbyn *etholedigion Duw? Duw yvv rhvvn a gyfiawnha, pwy a ddamna? Christ yvv, yr hwn a vu varw, ie yn hytrach, yr vn a gyfodwyt drachefn, yr hwn hefyt 'sy ar ddeheulaw Duw, ysy hefyt yn yn ‡erchy drosom. Pwy a'n gohana ni ywrth cariat Christ? ai gorthrymder nei gyfyngder, nei ymlid, nei newyn, neu noethi, nei pericul, nei gleddyf? Megis y mae yn yscrivenedic, Er dy vwyn di in lleddir ni trwy'r dydd: in cymerir ni mal

*ymaros
‡edrych
*gan, trwy
‡ny ellit ei hadrodd
*wrth yn ol
‡Christnogion
*er daioni
‡racbryd
*unwedd, gyffelip
*racder bynawdd
‡gyd a ni, ar ein plaid
‡dabyhun
*dewisedigion
‡varna yn euoc
‡cyfrwng
*yn hyd y

deueit yw lladdfa. Eithr yn y petheu hyn oll ydd ym yn bwy na choncwerwyr trwy'r hwn a'n carawdd ni. Canys mae yn dogel genyf, nad oes nac ange, na bywyt, nac Angelion, na na phennaetheu, na * meddianneu, na chydrycholion, na phetheu y ddybot, nac uchelder, na dyfnder, nac vn creatur arall a ill ein ‡ yscar ni y wrth cariat Duw, ysyd yn-Christ eun Arglwydd.

*galluoedd
‡gohanu, dithol

## Pen. ix.

Gwedy iddo testolaethu ei vawr serch yw genedl, a'ei arwyddion, Y mae ef yn traethu am yr etholedigaeth, a chyliat. Am 'alwedigeth y Cenetloedd, a' gwrthoddedigeth yr Iuddaeon.

Gwir a ddywedaf yn-Christ, ny's chwedaf gelwydd, a'm cydwybot yn cyttestolaethu a' mi yn yr yspryt glan, bot * tristit mawr a' dolur ‡ dibait yn vy-calon. Canys mi ry buchwn bot yn *'ohanedic be hun y wrth Christ, * dros vy-brodur, sef ‡ vy-cenetl erwydd y cnawt, yr ei ynt yr Israelieit, i ba'r ei y perthyn y * mab-wysiad, a'r gogoniant, a'r Dygymmodae, a' dodiat y Ddeddyf, a' ‡ gwasanaeth Duvv, a'r gaddeweidion. O ba'r ei yr hanoedd y tadeu, ac o ba'r ei * erwydd y cnawd, yr hanoedd Christ, yr hwn 'sy yn Dduw arucha oll yn bendigedic yn oes oesoedd, Amen. Er hyny ny ddychon bot mynet gair Duw yn ‡ dirym: can nad ynt vvy oll yn

*trymder
‡gwastadol anguriol
*wedy vy-nithol, vy yscar
‡vy-cereint
*cynnwys
‡diwyll
*oran, o bar thred, yn ol
‡molianedic dragywyth
*anolo, anghwbl, balledic

ll yn Israeliait, a'r a hanoeddynt o'r tad Israel. Ac
ydynt vvy oll yn blant, o blegit eu bot o had Abra-
ham: eithyr yn Isaac y galwer dy had di: ys ef yw
hyny, nyd yr ei'sy yn blant y cnawt, ydynt plant
Duw: eithyr plant yr addewit a gyfrifir yn had.
Can ys gair addewit yw hwn, Yn yr amser hwn
yma y dauaf, ac y bydd map i Sara. Ac nyd efe yn
unic a vvybu hyn, anyd hefyt Rebecca gwedy iddi
ymddwyn gan un, 'sef gan ein tad Isaac. Can ys
eto cyn na geni'r ‡plant, a' phryd na wnaethesent
na da 'na drwc (megis y trigei * bwrpos Duw yn
safedic ‡erwydd ei etholedigaeth sef nyd * gan wei-
thredoedd, anyd gan yr un 'sy yn galw) y dywet-
pwyt wrthei, Yr henaf a wasanaetha'r ieuaf. Me-
gis y scrivenwyt, Jacob a gerais, ac Esau a ga-
seis. Beth ddywedwn ‡wrth hyny? A oes ancyfi-
awnder * gan Dduw? Ymbell oedd. Can ys wrth
Moysen y dywait, Mi drugarhavvyf wrth yr hwn
y trugarhaf: ac a dosturiwyf wrth hwn bynac, y to-
sturiaf. Ac velly nyd yw'r etholedigeth ar lavv hwn a
wyllysa, nac ar law hwn a red, anyd ar law Duw
sy yn trugarhau. Can ys yr Scrypthur 'lan a
ddywait, wrth Pharao, I hyn yma yth cyffroeis
i fynydd, val y dangoswn *vy-meddiant yno ti, ac
val y ‡datcenit vy Enw trwy'r oll ddaiar. Can hy-
ny wrth yr hwn * yr wyllysia, y trugarha ef, a'r
hwn a wyllysia, ef ei caleda. Dywedy gan hyny
wrthyf, Paam ymae ef eto yn cwyno? can ys pwy
a ‡wrthladdawdd y wyllys ef? Eithyr * a ddyn,
pwy * wyt ti rhwn ‡ ymaddadleuy yn erbyn Duw?
A ddyweit y ‡peth ffurfedic wrth hwn a ei ffurfi-



+beichiogi
‡bechein
*ragosodi-at, arvaeth
‡wrth ddewys
*o bleit, er mwyn
‡gan hyn
*gyd a yn
*vy-gallu
‡manegit
*a vyn
‡wrthne-bodd
*ti
‡yw
*wyt yn gwrthatepi
‡gwaith wrth y gweithwr

*or giff- prid, clai
‡anrydedd
*soriat, llit
‡allu, bwer
*eglurhau
‡barato- awdd, order nìawdd

awdd, Paam im gwnaethost val hyn? Any does meddiant ir crochenydd ar y * priddgist y wneuthur o'r vn ‡telpyn pridd vn llestr i *barch, ac arall i amparch? Beth a's ewyllysei Dduw, y ddangos ei ‡digofeint, ac y beri adnabot ei *vediat, diodef drwy hir ymaros lestri'r digofeint wedy y harlwy i gyfergol? Ac er mwyn yddo * beri-gwybot golud ei ogoniant ar lestri trugaredd, yr ei a ‡arlwyodd ef i ogoniant? Sef nyni, yr ei a 'alwodd ef, nyd o'r Iuddeon yn vnic, amyn hefyt o'r Cenetloedd, megis y dywait ef hefyt yn Osee, Mi alwaf yn bopl ymy, yr ei nyd oedden yn bopul y-my: ac yhi yn garedic, rhon nyd oedd yn garedic. Ac y bydd yn y lle y dywetpwyt wrthynt, Nyd ydych yn popul y mi, yno y gelwir hwy, Plant Duw byw. Hefyt Esaias 'sy'n llefain * am yr Israel, Cyd bei niver plant Israel mal tywot y mor, er hyny oddiethr ‡telpwynyd tacheit. Can ys ef a wna ei gyfrif, ac ei crynoa gyd a chyfiawnder: can ys yr Arglwydd a wna gyfrif cryno yn y ddaiar. A' megis y dywot Esaias yn y blaen, Any bysei y Arglwydd y lluoedd adael i ni had, in gwneuthesit ni val Sodoma, ac a'n cyffelypesit i Gomorrha. Beth gan hyny a ddywedwn? Can ir Cenetloedd, yr ei ny ddilynesont gyfiawnder, * ymgahel a chyfiawnder, sef y cyfiawnder ysydd o'r ffydd. Ac Israel rhwn a ddilynei Ddeddyf cyfiawnder, ny allawdd 'ordiwes Ddeddyf cyfiawnder. Paam? Can na's ceisyent wrth ffydd, any d megis o weithredoedd y Ddeddyf: can ys trancwyddesont wrth baen y trancwydd. Megis y mae yn scrivenedic, ‡Nycha vi yn' gosot

*ar, obleit
‡gweddill, gwargred

*ordiwes, oddiweddyt

‡Wely
*dodi

Tsion vaen trancwydd, a' charaic gwymp: a pop vn a gred yndo, ny * chywilyddir.

*wradwyddir

## Pen. x.

Gwedy iddo venegi ei serch arnyn, y mae ef yn dangos achos cwymp yr Iuddeon. Dywedd y Ddeddyf. Y gohan rhwng cyfiawnder y Ddeddyf a' ffydd. O ba han y daw ffydd, ac y bwy i perthyn. Gwrthoddodedigeth yr Iuddewon, a' galwedigeth y Cenetloedd.

Brodur, y mae,* gwir wyllys vy-calō a'm gweddi a'r Dduw dros yr Israelieit, ‡ er iechyt. Cā ys testiaf am danwynt, bot gāthynt * gariat ar Dduw, eithr nyd yn ol gwybodaeth. Can ys hwy, yn anwybot cyfiawnder Duw, ac yn ceisio gosot ei cyfiawnder y hunain, nyd ymostyngesant y cyfiawnder Duw. Canys Christ yw dywed y Ddedyf er cyfiawnder i bop vn a gred. Canys Moysē a ddosparth a y cyfiawnder ysydd o'r Ddedyf, val hyn y dyn a wna y petheu hyn, a vydd byw wrthynt. Eithyr y cyfiawnder ysydd o'r ffydd, a ddywait velly, Na ddywait yn dy galon, Pwy a escend ir nef (ys ef yw hyny dwyn Christ ‡ odduchod) nei pwy a ddescend ir dwfnder? (sef yw hyny * dyvot a Christ drachefn y wrth y meirw) Anyd pa dywait y mae'r gair ‡ yn agos atat, sef yn dy enau, ac yn dy galon. * Hwn yw gair y ffydd yr hwn ydd ym yn y bregethu. Nyd amgen a's cyffessy ath enau

*da
‡ar eu bot yn gadwedic
*gwynvyd, serch
‡y wared
*dwyn
‡wrthyt
*Llyma

*Yr Epistol ar ddydd S. Andreas.*

yr

yr Arglwydd Iesu, a' chredu yn dy galon, vod y
Dduw y gyfodi ef o veirw, * iach byddy. Can ys
a'r galon y credir er cyfiawnder, ac a'r genau y
cyffessir er ‡ iechyd vvrieth. O bleit yr Scrythur a
ddywait, Pwy pynac a gred yndo ef, ny chywily-
ddir. Can nad oes 'ohanieth rhwng yr Iuddew a'r
Groecwr: o bleit yr hwn 'sy Arglwydd ar bawp,
'sy *'oludawc i bawp, a'r a alwant arnaw ef. Can
ys pwy pynac a ‡ ailw ar Enw yr Arglwydd, *ia-
chedic bydd. And pa vodd y galwant ar yr hwn ny
chredasant ynddaw? a' pha vodd y credant yn yr
hwn, ny chlywsant ywrthaw? a' pha vodd y clyw-
ant eb precethwr? a' pha vodd y precethant, oddie-
ithyr eu danvon? megis y mae yn escrivenedic,
Mor brydverth yw * traed yr ei sy yn ‡ evange-
lu * tangneddyf, ac yn euangelu pethau dayonus.
Eithyr nyd vbyddesont vvy oll ir Euangel: Can ys
dywait Esaias, Arglwydd, pwy a gredawdd yn
‡ ymadrodd ni? Can hynny ffydd 'sy * wrth gly-
wet, a' chlywet gan 'air Duw. Eithr gofyn ydd
wyf, Any chlywsant vvy? Diau bynet o y ‡ son
hwy dros yr oll ddaiar, a'ei gairiae yd * ffiniae y
byt. Eithyr gofyn yr wyf, Anyd adnabu Israel
Dduvv? Yn gyntaf y dywait Moysen, Mi barafy-
wch wynfydu gan genetl nyd yvv genetl i mi, a'
chan genetl ‡ ampwyllic i'ch digiaf. Ac Esaias 'sy
yn * llyfasu, ac yn dywedyt, Im caffad y gan yr ei
ni'm ceisynt, ac i'm gwnethpwyt yn eglur ir ei nyd
ymovynnent am danaf. Ac ‡ wrth yr Israel y dy-
wait, Yn hyd y dydd yr estendais vy-dwylo at po-
pul anvvydd, ac yn * gwrthddywedyt.

*cadwedir
‡cadwedigeth
*gyvoethoc
‡ymoralwo ac
*cadwedic
*dyvodiat
‡managi
*heddwch
‡clywet
*o gan drwy
‡sain, llais, swn
*tervyne, diben
‡guell, ynfyd, ffol
*ehofn, ewn, hyf
‡yn erbyn
*dywedyt yn erbyn

¶Pen

# Pen. xj.

Bot gan Dduw ei Eccles cyd na's gweler gan 'olwc dyn. Mod y dangosir Rad ir etholedigion. Barnedigeth y gwrthodedigion. Darvod i Dduw ddallu yr Iuddaeon tros amser, ac ymddangos ir Cenetloedd. Yr ei y mae ef yn gorchymyn yddyn ymestwng ac ymddyddhau. Bot doniae Duw eb ‡ edifeirwch Gorddufnder barn Duw.

‡yn ddiedivar

Ofynnaf gan hyny, A wrthddododawdd Duw ei bopul? Na ato Duw: can ys mine hefyt wyf Israeliat, o had Abraham, o dylwyth Ben-iamin. Ny * wrthddodawdd Duw ei bopul ‡ y racadnabu ef yn y blaen. Any wyddoch pa ddywait yr Scrythur am Elias? pa vodd y mae ef yn erchy ar Dduw yn erbyn yr Israel, gan ddywedyt, Arglwydd, wy laddasant dy Prophwyti, ac a gloddiesant ir llawr dy allorae: a' mi a adwyt yn unic, ac ymaent yn ceisio vy ‡ einioes? Eithyr pa ddywait atep Duw wrthaw? * Gedewais y myhun saith mil gwyr, a'r ny ‡ phlygesont y glinieu y ddelw Baal. Sef y mod hyny yn yr amser hyn yr oedd hon y mae * relyw trwy'r etholedigeth rhat: Ac a's ‡ o rat y mae, nyd yw ynte ‡ ddim o weithredoedd: a's amgen, ny byddei ddim rat yn rat: ac a's o weithredoedd y mae, nyd yw e mwy yn rat: a's amgen ny byddei gweithred mwy yn weithret. Beth ynte?

*wrthladod

*wrthla'od
‡yr hwn, yr ei
‡cneit
*Cedweis
‡thamesant
*gweddill gwargred, swrn, talm
‡trwy, gan, yn, wrth
*mwy, hagach, wrth
‡mwy
*nyd gweithred gweithred

ynte? Ny chafas Israel yr hyn a geisiawdd: and yr etholedigeth ei cafas, a'r * llaill a ‡ galedwyt, megis y mae yn escribenedic, Rodded Duw yddwynt yspryt trymgwsc: llygait val ny welent, a' chlustieu val ny chlywent yd y dydd heddyw. Ac Dauid a ddywait, Byddet y bort hwy yn * groclath, ac yn rhwyt, ac yn drancwyddfa, 'sef yn ‡ daledigeth yddynt. Tywyller y llygeit wy, val na welont, a'* chryma di eu cefneu yn 'oystat. Ys gofynnaf gan hyny, A dramcwyddesont wy, val y cwympent? Na ato Duw: eithr trwy y cwymp hwy y daeth iechyt ir Cenetloedd, er eu ‡ hanoc y'w dilin hwy. Erwydd paam a'd yvv y cwymp hwy yn * 'olud ir byd, ai lleihad wy yn 'olud ir Cenetloedd, pa veint mwy y bydd y ‡ cyflawnder hwy? Canys yn hyn y dywedaf wrthy-chwi Genetloedd, yn gymeint am bot i yn Apostol y Cenetloedd, y mawrygaf vy swydd, er ceisio yn rhyw bodd annoc 'yr cy'm cic am gvvaed y dylyn hwy, ‡ ac iachau 'rei o hanwynt. Can a's y gwrthoddodiat wy vydd * cysiliat y byt, pa vydd y ‡ derbyniat, any d bywyt o veirw? Obleit a's y blaenffrwyth ys y sanctaidd, velly y mae y cyffeith: ac ad yvv y gwreiddyn yn santaidd, velly y mae 'r y caingae. A' chyd bod 'rei o'r ceingae wedy eu torri ymaith, a' thitheu yn olewwydden 'wyllt, wedy dy himpio ‡ arnynt yn y lle hwy, ath wneuthur yn gyfrannoc o'r gwreiddyn, ac o vraster yr Olewydden, nag * ymffrostia yn erbyn y caingeu: ac a's ymffrosty, nyd yw ti yn dwyn y gwreiddyn, any d y gwreiddyn dy di. Yno y dywedy, E dorrwyt ymaith y ceingae er mwyn vy him-

*gweddillion gwargred
‡ddallwyt
*vagl, hoynyn
‡daliat, bwyth
*chrwcaha
‡peri y wyn bydu
*gyfoeth
‡amledd
*bynghenedl
‡a'chadw
*cymmot,
‡cymeriat
*clamp, telpyn
‡ani da nyn twy
*ymhoffa, ymvalchia

ynhimpio i y mewn. Da: trwy ancrediniaeth y torwyd wy ymaith, a' thithe 'sy yn sefyll * gan y ffyd: na vydd vchelvryd, and ofna. Can ys a's Duw nyd arbeddawdd y caingeu ‡ anianol, ymogel, rac nad arbeto dithe chwaith. Gwyl am hyny vwyn=ddra, a' * thostedd Duw: ir ei a gwympesont, tostedd: and y ti, vwyneiddra, a's arosy yn ei vwyneiddra: a's aingen, ith torir dithe hefyt ymaith. A' hwynteu hefyt, any d arosant-yn-'opstat yn ancrediniaeth, a himpir ‡ y mewn: can ys gall Duw y himpio hwy y mewn drachefn. Can ys a's torrwyd ti allan o'r olew wydden 'rhon oedd wyllt wrth anian, ath himpio yn erbyn anian ‡ yn-gwir olew-wydden, pa gymeint mwy y caif yr ei 'sy erwydd anian, ei himpio yn y olewwydden * y hunain? Can na ewyllysiwn, brodur, y chwi anwybot y dirgelwch hyn (rac eich bot yn rry ddoethion ynoch ych hunain) am o ran ddybot yr anhydynder ir Israel, y'n y ddel cyflawnder y Cenetloedd y mewn. Ac velly yr iacheir yr oll Israel, mal y mae yn scrivennedic, Y gwaredwr a ddaw allan o Sion, ac a ddymchwel ymaith yr anwiredd y wrth Jaco. A' hynn yw vy-dygymmod yddynt, pan dyncwyf ymaith eu pechodeu. A' thu ac at am yr Euangel, y maent wy yn 'elynion ‡ och pleit chwi: and erwydd yr etholedigeth, hwy gerir er mwyn y Tadeu. Can ys *donieu a' galwedigeth Duw syd ddiedifar ganto. Can ys megis yr oedde-chwi gynt heb gredu y Dduw, ac yr owrhon wedy cael trugarhau wrthych trwy y ancrediniaeth wy: ac velly owrhon ny chredesont y trwy'r drugared yddan= gosvvyt:

‡wrth, trwy.
‡naturial
*dirvarn.
‡yndi
*natur
‡mewn
*briawd
‡er eich mwyn
*rrodion:

gosvvyt y chwi, val y caen wythe hefyt drugaredd.
Can ys Duw a * gydgaeawdd bavvb oll yn anuw-
diniaeth, val y byddei yddo drugarhau wrth pawp
oll. O veint dyfnder golud; ac o ddoethinep a' gwy-
byddieth Duw: mor anchwiliadwy yw y varneu
ef, ai ffyrdd yn anveidrawl: Can ys pwy a wybu
veddwl yr Arglwydd: nei pwy a vu yn gyngorwr
y-ddaw: Nei pwy a roddes yddo ef yn gyntaf, ac
telir iddo: Can ys o hanaw ef, a' thrwyddaw, ac
ynddaw ymae pop dim oll: yddaw ef y bo gogoniant
yn dragyvyth. Amen.

*'orchaeodd

## Pen. xij.

Ymwreddiat, cariat a' gweithredoedd y sawl a credant yn-
Christ. Na bo ymddial.

*Yr Epistol y Sul cyntaf gwedi'r Ystwyll*

A Tolwc ywch gan hyny, vroder,
*er trugaredae Duw, roddy o ha-
noch eich cyrph yn ‡aberth byw,
sanctaidd, cymradwy *y Dduw, yr
hyn yvv eich dospartheus wasanae-
thu ydaw. Ac na chydymffurfiwch
a'r byd hwn, eithyr ymnewidi-
wch gan adnewyddiat eich meddwl, val y galloch
brovi pa yw ewyllys da Duw, a' chymradwy, a'
pherffeith. Can ys dywedaf trwy y ‡rat a *roed
y my, wrth bop vn ysydd ys ydd yn eich plith, na
bo i neb ddyall uchlaw y ‡ dylit dyall, anid dyall
o hanaw * erwydd pwyllogrwydd, mal y rhanawdd
Duw y bop vn vesur ffydd. Can ys-megys ymae in
lawer

*gan o drwy
‡offrwm
*gan
‡resymol
‡gras
*roespwyt
‡dirperei
*yn ol sobredd

-wer o aelodae mewn vn corph, ac nad oes ir oll
aelodae yr vn ‡ swydd: velly ninneu er ein bot yn lla-
wer ydym vn corph yn-Christ, a'phop vn yn aylod
y gilydd. A' chan voti ni ‡ amryw ddoniae, er-
wydd y Rat a roespwyt y ni, ai bot ini brophedoli-
aeth, prophvvydvvn erwydd * cymedroldep y ffydd: ai
swydd, dylynvvn y swydd: nei'r hwn a vo yn athro
athroed athrawaeth: nei a roddo cyngor, bot yn cyg-
hori: rhwn a gyfranno, cyfrannedyn ‡ symplrwydd:
a lywodraetho, gvvnaed * a diescaelurter: a drugar-
hao, gvvnaed gan ‡ hyfrydwch. Bid cariad yn * di-
ffuant. ‡ Dycasewch yr hyn 'sy ddrwc, a' glynwch
wrth y sy dda. Bid hawdd genwch garu y gylydd
a chariad brawdol. I roddy ‡ parch, aed pawp o v-
laen y gylydd, eb vod yn * ddioc ‡ ar astudrwydd:
yn-brwdion yn yr yspryt: gan wasanaethu yr Ar-
glwydd, bot yn llawenychu yn-gobaith, yn ddio-
defgar mewn * advyd, yn ‡ wastadol yn-gweddi,
gan gyfranu wrth gyfreidiae'r Sainct: ac yn di
yn rhoi lletuy. Bendithiwch yr ei'sy ich ymlit, ben
dithiwch meddaf, ac na velltithiwch. Bot yn llaw-
en gyd a'r ei llawen, ac wylo gyd a'r ei wylofus.
Byddwch vn vryd da bavvp yw gylydd: na byddwch
uchel byddwol: eithyr ymgydestwng a'r ei isel: na
byddwch ddoethion ynoch ych vnain. Na thelwch
i nep ddrwc tros ddrwc: * perwch betheu ‡ sybe-
dus yn-golwc pop dyn. A's dichon bot, yd y mae o
hano-chwi, byddwch mewn tangneddyf a phop
dyn. Y caredigion, nac ymddielwch, anid rhowch
le i ddigofeint: can ys mae yn escrivenedic, Y mi
dial: mi ei talaf, medd yr Arglwydd. Can

‡gwaith

*Yr Epistol yr ail Sul gwedy 'r Ystwyll.*

‡amrafael roddion yn ol y gras

*cyssondep,

cyfran

‡ddiblyc, wirion

*yn

‡llawenydd

*wentaith, ddiamredyd

‡Arswydd-wch, ffieiddiwch

‡anrydedd

*hwyr

‡yngorch-wyl

*trwbl

‡parhaus

*Yr Epistol y iij. Sul gwedy 'r Ystwyll.*

*patato-wch

‡onest

*bwyda
‡gescly
*rysod ar
‡'ormeller
*gormeila, gorvod

hyny a's dy'elyn a newyna, *portha ef: a's syched-
a, dod iddo ddiot: can ys a's gwnai hyn, ti ‡ bent-
yrri * varwar am y ben ef. Na ‡ 'orchyfyger-di
gan ddrwgioni, eithyr * gorchyga di ddrwc drwy
ddaioni.

## Pen. xiij.

Yr vfyddot ir llywodraethwyr. Paam y mae'r cleddyf gan-
thynt wy. Wrth cariat y dyleir mesuro ein oll weithre-
doedd. Annogedigeth i wiriondap a' phurdep buchedd.

*Yr Epistol ar y iiij. Sul gwedy'r Ystwyll.*
*Gallnoed
‡ywrth
*wrthladdant
‡gwenidoc
*dayoni
‡rac, achos
‡deyrnget

Ymddarostynget pop map eneit dyn ir
*Awdurdodae gorucchel: can nad oes
awdurtot, anyd ‡ y gan Ddew: a'r
awdurdodae ysy, o ddygan Dduw y
maent wedy ei hordinio. Ac velly
pwy pynac a * wrthwynepa awdur-
tot, a wrthnepa 'ordinhat Duw: a'r ei a wrthne-
pant, a dderbyniāt barnedigaeth ydynt y hunain.
Can nad yw tywysogion yn ofn i weithredoedd
da, anyd ir ei drwc. Ac a vyny nad ofnych yr awdur-
tot: gwna ddayoni: a' chai voliant ganto. Can ys
‡ gwasanaethwr Duw ydyw er *lles yty: and a's
gwnai ddrwc, ofna: can na ddwc ef y cleddyf yn
over: canys gwasanaethwr Duw ydyw y ddial
llid ar hwn a wnel drwc. Erwydd pa bleit mae yn
rhait yvvch ymddarestwng, nyd yn vnic * erwydd
llit, anyd er mwyn cydwybot. Can ys, o bleit hyn
y telwch hefyd ‡ gellidion: can ys gwasanaeth-
wyr Duw ynt, yn ymroi ir peth yma. Rowch y

bawp

bawp gan hyny ei dyledion: teyrnget, ir neb y bo arnoch deyrnget, toll ir hwn y bo arnoch doll: ofn, ir hwn y mae iavvn bot ofn: * parch ir hwn a ddyly barch. Na byddwch yn-dlyed neb, anyd ar garu pavvp y gylydd: can ys hwn 'sy yn caru arall, a gyflawnodd y Ddeddyf, ‡ Can ys hyn, Na * wna 'odinep, Na ladd, Na ledrata, Na dwc gamdestiolaeth, Na ‡ chupydda: ac a oes vn gorchymyn arall, ymae wedy' * gynwys yn ‡ gryno yn yr ymadrodd hwn, ys ef yn hwn, Car dy gymydawc mal tyun. Cariat ny wna ddrwc yw gymydawc: am hynny cariat yw cyflawnder y Ddeddyf. A' hyny can ystyried yr amser, ys y bot hi yr owrhon yn bryd ddyffroi o gyscu: can ys yr awrhon y mae ein iechydwrieth yn nes, na phan gredesam. Y nos aeth heibio, a'r dydd * a nessaodd: bwriwn ymaith gan hyny weithredoedd y tywyllwch, a' gwiscwn arfeu y goleuni, val y gallom rodio yn weddus megis ‡ vvrth livv dydd: nyd mewn glodest a * chyfeddach nyd yn ‡ cydorwedd ac * anlladrwydd, nyd yn-cynnen, a' chenvigeny: eithyr gwiscwch am danoch yr Arglwydd Iesu Christ, ac na vit eich gofal tros y cnawt, er mwyn porthi tra ‡ chwantae.

> Yr Epistol ar y Sul cyntaf yn Aduent.
> * anrydedd
> ‡ Set
> * thor briodas
> ‡ chragwnta
> * ymgyfred
> ‡ byr.
> * sy gerllaw
> ‡ hyd, oleyr
> * gorwedial
> ‡ aniweirdep
> ‡ ei 'wynie

## Pen. xiiij.

Nyddyleit dirmygu y gwan. Ny ddyly neb rwystro cydwybot arall, Anyd cynnal o bob vn y gylydd mewn cariat perfaith a' ffydd.

*et.

‡oddail

YR vn ys ydd wan o ffydd, derbynwch atoch, ac nyd *i ymrysonion dadleuae. Vn a gred y gall ef vwyta pop peth: ac vn arall, chwn 'sy wan ei ffydd, a vwyty ‡lysieuae. Na thremyget hwn 'sy yn bwyta yr hwn nyd yw yn bwyta: ac na varnet yr vn ny vwyty, yr vn a vwyty. Canys Duw y derbyniawdd ef. Pwy yw ti yr hwn a verny yn euoc was gvvr arall? y mae ef yn sefyll: nei yn cwympo *yw arglwydd y hun: ac ef a gynhelir: can ys dichon Duw beri iddo sefyll. Ryw vn a varn bot dydd ‡ uchlaw dydd, ac vn arall a varn bop dydd * yn o'gyfuvvch: bit pop vn yn gwbl ddilys yn ei veddwl. Yr hwn a ‡ystyria ddydd, ei hystyrie ir Arglwydd: a'r hwn nyd ystyr ddydd, nyd ystyr ir Arglwydd: yr hwn a vwyty, a vwyty ir Arglwydd: can y bot yn diolvvch y Dduw: a'r hwn ny vwyty, ny vwyty ir Arglwydd, ac a ddiolch y Dduw. Can nad byw yr vn o hanom yddo ehun, ac nyd marw yr vn yddo y hun. Can ys ai byw byddom, byw byddom ir Arglwydd: ai meirw byddom, meirw byddom ir Arglwydd: pa vn bynac gan hyny a wnelom ai byw ai marw, yr Arglwydd a'n pieu. Can ys er mwyn hyn y'bu varw Christ, ac yr adcyvodes, ac y bu vyw drachefn, val y byddei Arglwydd ar veirw a' byw. A' phaam y berny di ar dy vrawt? neu paam y tremygy di dy vrawt? can ys *ymddangoswn oll geyr bron brawdle Christ. O bleit scrivenedic yw, Ys byw vi medd yr Arglwydd, a' phop glin a ‡ ymestwng i mi, a' phop tavot a

*yddy

‡rac, ragor, o vlaen

*val ei gilydd, yn vn fuvvt

‡gaidw

*gosodir ni, dodir ni i sefyll

‡blyg, gama

gyffesa

gyffella i Dduw. Velly ynte pop vn o hanom a
rydd gyfrif am dano y hun y Dduw. Na bo i ni
gan hyny varnu pawp ar e gylydd mwyach: anyd
bat yn hytrach i chwi varnu yn-cylch hyn, na doto
nep *yw brawt achos, *tramcwydd, nei gwymp. Mi
wn, ac yn mae yn ddilys genyf trwy'r Arglwydd
Iesu, nad oes dim yn ‡aflan o hano y hunan: anyd
i'r vn'sy yn tybieit bot *dim yn aflan, yddaw efy
mae yn aflan. Eithyr a's dy vrawt a ‡ drista o
blegit y bwyt, nyt wyt yr owhon yn rhodio erwydd
cariat perffeith: na choll ef ath vwyt, yr hwn y bu
farw Christ drosto. Na pherwch 'oganu eich
*[illegible]. Can nad yw teyrnas Duw na bwyt, na
diot, anyd cyfiawnder, a' thangneddyf, a' ‡ gor-
foledd yn yr Yspryt glan. Can ys pwy pynac yn
yr ei hynn a wasanaetha Christ, 'sy gymradwy
gan Dduw, a ‡channoladwy gan ddynion. Ve-
lly dilynwn ni y pethey 'sydd o bleit tangnedyf, a'r
pethau 'sy y ni y adeilat y gylydd. Na ddinistr wa-
ith Duw er mwyn bwyt: diau yvv bot pop peth yn
lan: eithyr drwc yvv ir dyn a vwyty drwy
*tramcwydd. Da yvv na vwytaer cic, ac nad y-
fer gwin, na dim, drwy'r hyn y tramcwydda dy v-
rawt, ‡ ai y thwystir, ai y gwanhair. A oes ffydd
genyt? bid hi gyd a thi ty hun geyr bron Duw:
Gwyn y vyd yr vn ny's *barn y hunan yn yr hyn y
mae efyn ‡ ymarddel. Can ys yr vn a *betrusa,
os bwyty, y mae yn varnedic, can nad yw ef yn
bwyta ‡ o ffydd: a' pha beth bynac, nyd yw o ffyd,
pechat yw.

*yddy
‡gyffredin
*peth
‡bydd drwc ganto
*buddget, cassaeliat, cymmoynas
‡llewenydd
‡phrofadwy
‡bur
*rwystr
‡neu
*damna
‡eiganfiol
*amheu, ddowta
‡trwy, wrth

## Pen. XV.

Paul yn ei cygcori y gynnal pawp y gylydd wrth esempl Christ, A'thrwy vnigol drugaredd Duw rhon'sy achos iachawdurieth ir ddwyblaid. Mae ef yn dangos ei ser chwryd arnynt wy, a'r Eccles. Ac yn erchi yr vveddi gan thyn hwythen.

Yni yr ei ‡ cedyrn a * ddlyem ddwyn gwendit yr ‡ ancedyrn, ac nyd yn boddhau ein hunain. Am hynny boddhaet pawp o hanom ei gymydoc yn yr hyn 'sy dda y adeilad. Can ys Christ ny's boddlonawdd ehunan, eithr megis y mae yn scrivenedic, * Goganion yr ei ath 'ogonant, a gwympesont arnaf. Can ys pa bethen bynac a scrivenwyt yn blaenllaw, er addysc i ni y rhac scrivenwyt vvy: val y gallem ni trwy ammynedd a'chonfort yr ‡ Scrythurae gahel gobeith. A'Duw pen ammynedd a'r * confort a roddo ychwi ‡ synniet yr vn peth bawp ai gylydd, * erwydd Christ Iesu. Mal o gytundep, ac o vn genen y galloch ‡ voliantu Duw 'sef Tad ein Arglwydd Iesu Christ. Erwydd paam derbyniwch bawp ei gylydd, megis ac y derbyniawdd Christ ninae y'ogoniant Duw. A'hyn, a dywedaf, bot Iesu Christ yn * weinidoc ir ‡ enwaediat er mwyn gwirionedd Duw, er cadarnhau yr addeweidion a wnaethpwyt ir tadae. A'rhoet y Cenetloedd 'ogoniant y Duw, dros

‡ cryfion
* ddirperem
‡ y gwelnieit
* lltwiante, dannodeu, senneu
Yr Epistol yr ail Sul yn Advent.
‡ Scrifenae
* cysur
‡ weddwl
* yn ol
‡ 'ogoneddu
‡ anrydeddu
* wasanaethwr
‡ cyrchdoriat

dos ei drugaredd, mal y mae yn scribenedic, Er
mwyn hyn ith * cyffessaf ym-plith y ‡ Cenetloedd,
y canaf ith Enw. A' thrachefn y dywait, Ym-
lawenhewch Genetloedd y gyd a ei bopul ef. A'
thrachefn, Molwch yr Arglwydd, yr oll Cenet-
loedd, a' chydvolwch ef yr oll populoedd. A thra-
chefyn Esaias a ddywait, E bydd gwreiddyn yr
Jesse, a'r hwn a gyfyt y lywodraethu 'r Cenetlo-
edd, yn hwnw y gobeithia 'r Cenetloedd. A' Duw
'r gobeith a'ch cyflawno o bop llewenydd, a' than-
gneddyf gan gredu, val ich amylhaer yn-gobe-
ith, trwy nerth yr Yspryt glan.

Ac y mae yn dilys genyf vi vyhun am dano-chwi,
vy-broder, a'ch bot chwi yn llawn daoni, ac yn gy-
flawno bop * gwybodaeth, ac y metrwch gygcory
ei gylydd. Er hyny brodur, mi scribennais atoch
yn hyfach o beth, val vn yn dwyn ar gof ywch,
trwy y Rat a roed ymy gan Dduw, y bot o hanof
yn ‡ wasanaethwr Jesu Christ * tu a'r Cenetloed,
gan ‡ 'lanweithiaw Euangel Duw, val y byddei
offrymiat y Cenetloedd yn gymradwy, wedy'
sancteiddio * gan yr Yspryt glan. Y mae i mi gan
hyny a ‡ ymlawenychwyf yn-Christ Jesu yn-cy-
frywbetheu a berthyn y Dduw. Can na veiddiaf
'yngan am dim, a'r ny's gwnaeth Christ trwyof,
y wnevvthur y Cenetloed yn uvydd ‡ ar 'air a' gwei-
thret trwy * nerth arwyddion a' rhyveddadae,
gan nerth yr Yspryt Duw: val pan yw o Gaerusalē
ac o amgylch yd Illyricum y gorllenwais o Euan-
gel Christ. Ac velly ydd ymorchestais y Euangelu
nyd lle yr enwit Christ, rac bot y my adailad ar ucha-



* addefaf
‡ nasiwne, y werin
* celfyddyt
‡ ehovnach
‡ weinidoc
* ymplith
‡ weint
* or, drwy
‡ ymhoffwy
* son
‡ yn-gair
* rym

sailiad neb arall. Eithyr megis y mae yn scriuenedic, Y bwy ny venagwyt am dano ef, wy y gwelant ef a'r ei ny chlywsant, ei dyallant. Am hyny hefyt im rhwystrwyt i yn vynech y ddyvot atoch. Anyd yr awrhon can nad oes ymy le mwy yn yr artale hyn, a'hefyd bot arnaf chwant er ys llawer o vlyddynedd y ddyvot atoch, pan elwyf ymdaith ir ‡ Hispaen, y dauaf atoch: can ys gobeithaf ych gwelaf wrth deithio ffordd yna, a'chael vy hebrwng genwch tu ac yno, gwedy im golawer o'ch cymdeithas. Ac yr awrhon yr ymddeithiaf y Caerusalem, y weini ir Sainctae. Can ys rhyngodd bodd ir rhai o Macedonia ac Achaia, y wneuthur rhyw gymorth ir Sainctae tlodion yr ei ‡ ynt yn Caerusalem. Can ys ryngodd bodd yddynt, a' ei dyledwyr ydynt: o blegit a's y Cenetloedd vydd cyfranwyr o ei petheu yspryttawl hwy, hwynteu a ddylent hefyt weini yddynt yn-petheu cnawdol. Yno gwedy cwplawyf hyn yma, a' selio yddynt y ffrwyth hwn, mi ddauaf heboch ir Hispayn. A' mi wn pan ddelwyf, y dauaf atoch a chyflawnder bendith Euangel Christ. Hefyt broder, atolygaf ychwy er mwyn ein Arglwydd Iesu Christ, ac er cariat ar yr yspryt, ymryson ohanoch a' mi *a gweddiaw ar Dduw drosof. ‡ Yn ym rhyddhaer y wrth yr ei 'sy yn anuvydd yn Iudaia, ac y *im gweinidogeth 'sy i mi vvneuthur yn Caerusalem, vot yn gymradwy gan y Sainctae, val y gallwyf ddyvot atoch *yn llawenydd trwy ewyllys Duw, ac ymorphwys gyda chwi. Weithian Duw pennaeth y tangneddyf a vo y gyd a chwi oll, Amen.

¶Pen

*Nesseiriswyt
‡Gr. Spaen
‡sy
*gan, trwy
‡Wal im
*gwasanaeth
‡mewn, drwy

# Pen. xvj.

**...llawer o anerchion, y may ef yn y rhubyddis hwy y ymogelyd rhac brodyr geuawc, ac edrych yn ei gylch. Ef yn gweddiaw drostwynt, ac yn diolwch y Dduw.**

GOrchymynnaf y-chwi Phoibe ein chwaer, yr hon 'sy wenidoc i Ecclesi Cēchreaia, ar bot ywch y derbyn hi yn yr Arglwydd, megis y mae yn ‡ deilwng i Sainctæ ai chanhorthwyaw ym-pop *neges y bo rait yddei wrth-ych porth: can ys hi bu dda o lety wrth lawer, ac wrthy vinef he-fyt. Anerchwch Priscilla ac Aquila vy-‡cydwei-thwyr yn Christ Iesu (yr ei dros vy*-bywyt i a do-desont i lavvr y mynyglen y hunain. yr ei ny ddiol-cha vi yn vnic yddynt, anyd hefyt oll Ecclesidd y Cenetloedd.) Anerchvvch hefyt yr Eccles ys id yn y tuy hwynt. Anerchwch vy-caredic Epainetus, yr hwn yw blaenffrwyth Achaia in-Christ. Anerch-wch Vair yr hon a ‡ laburiodd yn vawr erom ni. Anerchwch Andronicus ac Iunia vy-cereint a'm cydgarcharorion, yr ei 'sy * hynot ym-plith yr A-postolion, ac oedden hefyt in Christ ‡ cyn na my-vi. Anerchwch Amplias vy-caredic yn yr Arglwyd. Anerchwch Urbanus ein cydweithwr yn-Christ, ac Stachys vy-caredic. Anerchwch Apeles y pro-bedic in-Christ. Anerchwch yr ei sy o ‡ drasc Ari-stobulus. Anerchwch Herodion vy-car. Anerch-

*weddus
‡dim, peth

*ganhor-chwywyr
‡einices, hoedl

*drabaelo-edd
‡odidog
*om blaen i

‡dylwyth

wch yr ei sy o drase Narcissus yr ei ynt yn yr Arglwydd. Anerchwch Triphaina a' Thriphosa, yr ei verchet a * laburiant yn yr Arglwydd. Anerchwch y garedic Persis, yr hon a laburiawdd lawer yn yr Arglwydd. Anerchwch Rufus ‡ etholedic yn yr Arglwydd, a'y vam ef a' mi. Anerchwch Asygcritus, Phlegon, Hermas, Patrobas, Mercurius, a'r brodyr ysy gyd ac wynt. Anerchwch Philologus ac Julius, Nerias, a'ei chwaer ef, ac Olympas, a'r oll Sainctae ysy gyd a hwynt. Anerchwch bob vn y gylydd a chusan sanctaidd. Y mae Eccles Christ yn eich anerch.

A' mi atolygaf ywch' broder, * edrych-yn-graff ar yr ei 'sy yn peri ancydfot a' ‡ rhwystrae, yn erbyn * yr athrawaeth a ddyscesoch, ac ymogelwch racddwynt. Can ys yr ei 'sy gyfryw, ny wasanaethant yr Arglwyd Iesu Christ, anyd y boliey hunain, a' thrwy' eiriae-tec a' gweniaith yn ‡ twyllo calonae yr ei * diddrwc. Can ys ych vfyddtot chwi a ddaeth ar lled at pawp oll: ydd wyf yn llawen gan hyny ‡ am danoch: and eto mi wyllyswn eich bot yn ddoethion, tu ac at ddayoni, ac yn wirion tu ac at ddrwgioni. Duw pen y tangnedyf a * sathr Satan y dan eich traed ‡ eb 'ohir. Rat ein Arglwydd Iesu Christ a vo gyd a chwi. Y mae Timotheus * vy-cydweithwr, a' Lucius ac Iason, a' Sosipater vy-cereint, yn erchi ych anerch. Mi Tertius, yr hwn a scrivenodd yr epistol hwn ach anerchaf yn yr Arglwydd. Gaius vy llettywr i, mi a'r oll Eccles 'sy yn erchi ych anerch. Y mae Erastus ‡ diwydrwydd y dinas yn erchi ych anerch, a' Chwar-

*weithiant

‡ddewisedic

*synniaw, espio

‡thramcwydde

*y ddysc

‡eudo

*gwirion, Gr. acacoō.

‡och plait

*bysseing, dwmpan, bathr

‡ar vyrder

*vynghyfaill

‡pentwyla

a' Chwartus * y brawt. Rat ein Arglwydd Iesu Christ y gyd a chwi bawp. Amen. Iddo ef yr hwn a ddychon ech cadarnhau ‡ yn ol vy Euangel, a' phregethiat Iesu Christ, gan * ymatguddiat y dirgelwch, yr hwn bu gyfrinachol er yn oes oesoedd: (ac yr awrhon yr ‡ eglurhawyt, ac a gyoeddwyt ymplith yr oll Genetloedd gan Scrythurae'r Prophwyti, wrth' orchymyn y tragyvythol Dduw er mwyn vvyddtot ffydd) I Dduw, meddaf, yr vnic doeth, bid gogoniant trwy Iesu Christ yn oes oesoedd. Amen.

*brawt

‡herwydd

*eglurhat

‡amlygwyt

Hwn a escrivenwyt at y Ruueinieit o Corinthus ac a ddanvonvvyt trwy Phoibe, hon oedd wenidoc yr Eccles yn-Cenchraia.

# Yr Epistol cyntaf
## i Paul at y Corinthieit.

## YR ARGVMENT.

Gwedy darvot i S. Paul precethu yn-Corinthus blwyddyn a' haner, e gympellwyt gan ddrigioni yr Iuddaeon y ymadaw i Syria. Ac yn y absen ef y daeth Apostolieit geuawc i'r Eccles, yr ei yn gyfiawn o 'wac 'ogoniant a' chwe huawdlrwydd, a geisient beri dirmygy y gwirion vodd a ymarverei Paul wrth precethu'r Euangel, a' chan ryfic yr ei hynu y cyvodes cyfryw ymbleidio ac ymryson in yr Eccles, megis o ddiwrth opinioneu mewn cynedloeu a' Ceremoniae y cwympesont wy i ddyscreidaeth ffals ac here-si, gan ddowtio am y cyvodedigeth o veirw, vn o'r pynciau pennaf yn-creddyf Christ. Yn erbyn y drygae hynn y mae'r Apostol yn cerdded ragddo, gan arvaethu caloneu'r Corinthieit, a'ei clustieu ac anerchion boneddigaidd: anyd ar hynt y mae ef yn ceryddu ei cynneneu a'ei hymrysonion, ei bocsach a'i balchedd, ac yn y heiriol y gytundep, ac vvyddot, gan ddody gar bron ei llygait y rhinwedd sprytol, a' nefawl ddoethinep yr Euangel, yr hyn ny ellir beri ei gredu drwy synnwyr bydawl, a' huawdl resymae, anid trwy Yspryt Duw y dadguddir, ac velly yr inselir yn-calonae dynion. Ac am hynny yr iachawdurieth hyn ny ellir dywedyd y bot gan y gweinidogiō, anyd yn vnic gan Dduw, ir hwn y maent wy yn weision, ac a gawson 'orchymyn i adailad y Eccles ef: yn yr hyn yr ymddug S. Paul yn gyvarwydd, gan adailad erwydd y sailvaen (yr hwn yw Christ) ac yn annoc eraill y ddyweddu yn vnwedd ar dechreu, gan ddyscwyl yn ddiyscaelus nad haloger hwy gan athrawieth 'orwac, can y bot wy yn templ Duw. Ac am

yr ei

y ei oedd yn dolwrio am y Apostolieth ef, y mae yn ddangos iddyn nad yw ef yn rhoi ei bwys ar varn dyn, er darvot iddo atcan trwy ar wyddion goleu na cheisiawdd ef erioet y'ogoniant yhun, na phaddelw chwaith y byddei byw, a nyd yn unic gogoniant Christ: yr hynn pan ddelei, a ddeclarei ef yn ehelaethach, er cywilydd ir gwac'ogoniantus ffrostwyr hyny, yrei y ceisyn y hunain yn unic, ac am hynny y goddefynt gamweddae sceleraf eb gerydd a'ei cospi, megis * trallosgach, ymrysonion, ymddadleu gar bron anffyddlonieit, ‡fforniccrwydd, a'r cyfryw, er mawr ammorth ir Euangel. Gwedy y darvot traethu hyn, y mae ef yn atep i ryw poyntie o lythyr y Corinthieit, megis am vuchedd eb priodi, dlyed priodas, am ancydvot ac amrafael ym-plith yr ei priod, am vorwyndawt, ac ail briodas. Ac o bleit tybieit o rei nad oedd dim niwed er bot yn y van lle bei * delw-wasanaeth, gan yddyn yn ei calonae addoli y gwir Dduw, mae ef yn erchi yddynt ymiet ar wendit ei brodur, obleit darvot rhwystro ei ffydd a'ei cydwybot gan gyfryw ‡ymgyweirio, a'chynt nac ygwnai ef y peth hyny, ef a wrthodei y rhydit a roesei Duw iddaw. Anid yn gymeint a bot balchedd, a'neullturwydd yn achos ir drigae hyny, y mae ef yn y rhybuddio hwy wrth esempl y Iuddaeon na valchiant yn y doniae hyn o y allan, cans iddynt oedd bot ei poen aruthrol hwy am gam arver creaduriait Duw, yn rybudd i bawp y ddylyn Christ yn vnion, eb ddim alhogiat a'rhwystro ereill. Gwedy hyny y mae ef yn beio ar lawer o gamarver yn ei Eccles hwy, yn-cylch ymwrediat methion, a'merchet yn y cynulleidfae: am Swper yr Arglwydd, am gamarver y doniae sprytawl, yr ei a roes Duw i gynnal cariat, ac adail yr Eccles: megis yn-cylch y cyvodedigaeth o veirw, eb yr hwn nid oes dim mwyniant o'r Euangel. Yn y dywed y mae ef yn eiriol ar y Corinthieit gymporth y Broder tlodion yn-Caerusalem, i barhau yn-cariat Christ, a gwneuthur daioni, gan anvon anerchion, a'damuno yddyn dangnhedyf.

*incest, pechot yn erbyn cerenydd 'ohardde dic.

‡rryvv'odinep

*eidol-

‡ffuant-vvedd

# Yr Epistol cyntaf i Paul at y Corinthieit.

## Pen. j.

Alonia.

Ef yn canmol mawrion * radae Duw a ddangoswyt yddyntwy, Gan ei hannoc wy i gytundap a' gestyngeiddrwydd. Ef yn curo y lawr oll balchedd, a' doethinep ar ny safflwyt ar Dduw, gan ddangos pwy a ddetholes Duw i w radwyddo doethinep y byt.

PAul galwedic yvot yn Apostol IESV CHRIST trwy'wyllys Duw, a'n brawt Sosthenes, at yr Eccles Duw yd sy yn-Corinthus, at yr ei sainctiedic yn Christ Iesu, Sainctae wrth 'alwedigeth y gyd ac oll a'r a ymor alwant * ar Enw ein Arglwid Iesu Christ ym-pop lle, sef y Arglwydd hwy, ‡ a'n vn ni: Rat vo gyd a chwi, a' thangneddyf gan Dduw ein Tat, a' chan yr Arglwydd Iesu christ. Diolchaf i'm Duw yn'oystat drosochwi am y Rat Duw, a roddet y chwi in Christ Iesu, am ddarvot ym-pop peth eich cyfoethogi yntho ef, ym-pop rryw ymadrodd a' phop gwybodaeth: megis

* ac

‡ a'r yddom ni, einim

*Yr Epistol y xviij. Sul gwedy Trintat.*

gis y cadarnhawyt testoliaeth Iesu Christ ynoch.
yn nad ydych yn ddefficiol o vn dawn: gan edrych
am ymddangosiat Iesu Christ. Yr hwn Dduw he-
fyt ach gadarnha chwi yd ydywedd, val y boch yn
‡ ddihawl yn-dydd ein Arglwydd Iesu Christ.
Fydlon yw Duw, trwy'r hwn ich gallwyt y * gym-
deithas y Map ef Iesu Christ eyn Arglwydd. Ac
atolwgaf y wch, broder, gan Enw eun Arglwydd
Iesu Christ, bot ychwi ‡ oll ddywedyt yr vn peth,
ac na bo *ymrysonio yn eich plith: eithyr cyssylltet
chwi ynghyt yn vn vedwl, ac yn vn varn. Can ys
declariwyt i mi, vy-broder, am danoch gã yr ei'sy
o duy Cloe bot cynnenio yn eich plith. A'hyn a dy-
wedaf, bot pop vn o hanochwi yn dywedyt, Ys mi
yw vn i Bawl a' mineu vn i Apollos, a' mineu i
Cephas, ac ys mineu i Christ. A rannwyt Christ?
A Paul a groget trosoch? nei ach batyddiwyt chwi
yn enw Paul? Im Dduw y diolchaf, na vetyddiais
i neb o hanoch, anyd Crispus a' Gaius, rac y neb
ddywedyt, ddarvot i mi vatyddio ‡ ym henw vy hu-
nan. Mi vatyddiais hefyt dulwyth ty Stephanas:
bellach ny wn a vetyddiais i ‡ neb arall. Can
na ddanvonawdd Christ vi y vatyddiaw, anyd y
*Euangelu, nyd a ‡ doethinep ymadrodd, rac
gwneuthur croc Christ yn ‡ di-rym. Can ys prece-
thio'r groc ir ei a gyfergollir, 'sy ganthynt wy yn
ynfydrwydd: a' chenym ni, yr ei a *iacheir, ‡ rhin
wedd Duw ydyw. Can ys y mae yn scrivenedic,
Mi *dileaf ddoethinep y doethion, ac a vwriaf y-
maith ddyal y dyallwyr. P'le mae'r doeth? p'le
mae'r ‡ Gwr-llen? p'le mae dadleuwr y byt hwn?
any

‡ddiveius, ddiargyoedd ddigwlte-dic
*gyfeillach
‡bawp ymadrodd
*anghydfod
*wyf
*yr vn
‡yn henw
*weithan
‡nebun
*bregethu
*huawdlrwydd gairiae
‡ober, ddiffrwyth
*gedwir
‡nerth gallu. &c
*dinystraf.
‡Llythyrenoc.

| | |
|---|---|
| | any wnaeth Duw ddoethinep y byt hwn yn ynby- |
| *trwy | drwydd? O bleit ir byt *gan ddoethinep nad ad- |
| | nabu Dduw yn-doethinep Duw, e welawdd Duw |
| ‡caddw | yn dda trwy ynbydrwydd precethu ‡iachau yr ei |
| | gredant: pan ytyw hefyd yr Iuddaion yn gofyn |
| *ymgais | arwydd, a'r Groecwyr, yn *ceisio doethinep. Eithyr |
| | ny ni sy yn precethu Christ wedy ei grogi: ir Iu- |
| ‡ffolinep | ddaion 'sef yn drancwyddfa, ac ir Groecwyr, yn ‡ yn- |
| *or | bydrwydd: anyd ir ei a 'alwyt, ys *ir Iuddaion, a'r |
| ‡rrinwedd | Groegiwyr y precethvvn Christ, ys ‡ nerth Duw, a' |
| *ffolinep | doethinep Duw. Can ys* ynfydrwydd Duw 'sy do- |
| | ethach na dynion, a' gwendit Duw sy gadarnach |
| | no dynion. Can ys, broder, chvvi welwch eich gal- |
| ‡megis | wedigeth, ‡pa vodd nad llawer o ddoethion erwydd |
| | y cnawd, nad llawer o gedyrn, nad llawer o *wyr |
| *bonedigiō | cenedloc a alvvyt. Eithyr Duw a ddetholawdd y |
| ‡ffolion | petheu ‡ynbydion y byt y *wradwyddo'r doethion, |
| *goddi | a' Duw a ddetholawdd y petheu gweinion y byt, |
| | y wradwyddo y petheu cedyrn. A'r petheu gwae- |
| ‡diddim | lion y byt, a' phetheu a dremygir, a ddetholes Duw, |
| *ddiddymy | a' phetheu nyd ynt, y* ddileu y petheu ynt. Mal |
| ‡dim, bn | nad ymhoffei ‡neb * cnawd yn y wydd ef, A' chvvy |
| *dyn | chwi sy ‡o hanaw ef yn-Christ Iesu, yr hwn gan |
| ‡oci blegit | Dduw a wnaethpwyt i ni, yn ddoethinep, a' chy- |
| *santeiddrwydd | fiawnder, a * sanctedigeth, a' phrynedigeth: |
| ‡ymlawenycho | Megis erwydd yr yscrivenwyt, Yr hwn a ‡ymhoffo |
| | ymhoffet yn yr Arglwydd. |

## Pen. ij.

| | |
|---|---|
| *wedd, vodd | Y mae ef yn rhoi yn lle exempl y *dull ef ar precethu, yr hyn |

[...]odd ar ol ffurf yr Euangel, yr hon oedd yn ddirmygus ac yn guddiedic ir dyn cnawddol. A' thrachefn yn anrybeddus ac yn amlwc ir spryddol.

AC minhi, broder, pan ddaethym atoch, ny ddeuthym a' *ragoriaeth ymadrodd, neu ddoethinep, gan venegy ywch' destoliaeth Duw. Cā na thybias i bot yn wiw gwybot dim yn eich plith, o ddieithyr Jesu Christ, ac yntef wedy ei groeshoelio. [...]ydd oeddwn yn eich plith yn-gwendit, ac [...] ac yn-echryn mawr. Ac nyd oedd vy ‡ ymadrodd a'm precethu yn sefyll yn-geiriae denu doethineb dynawl, anyd yn eglur ddangosiat yr Yspryt, [a] nerth, val na byddei eich ffydd * yn-doethinep dynion, anyd yn nerth Duw. A' doethinep a ddywedwn ym-plith yr ei perffeith: nyd doethinep y [byd] hwn, na doethinep tywysogion y byd hwn, yr [...] ‡ dderbydd am danynt. Eithyr ny ni a adroddwn ddoethinep Duw y sy yn-dirgelwch, sef y doethinep oedd guddiedic, ac a racderbynawdd Duw [...] yr oesoedd, i'n gogoniant ni. Yr hwn ddoethinep [ny] adnabu neb o dywysogion y byt hwn: can ys [pe]'s adwaenesent, ny *chrogesont wy Arglwydd [y] gogoniant. Eithyr megis y mae yn scribenedic, [y] petheu ny welas ‡ llygat, ac ny *chlywodd clust, [a]c ny's daeth y mewn calō dyn, ynt, a baratoawdd Duw ir ei y carant ef. A' Duw y datguddiawdd [wy] y ni gan y Yspryt ef: can ys yr Yspryt a chwilia bop peth, a' phetheu dyfnion Duw. Can ys pa

*uchelder

‡ymadrodd

*gan, ywrth

‡ballan, bethan, ddibethir

*y byt

*chroeseset

‡golwc

*chlywas, chlybu

ddyn a * edwyn betheu dyn, ‡ dyeithr yspryt dyn, yr hwn'sy ynddo ef: ac velly petheu Duw nyd edwyn nebun, anyd yspryt Duw. A' nyni ny ddecbyniesam, yspryt y bytanyd yr Yspryt, ysydd o Dduw, val yr * adnabyddem y petheu a ‡ roddwyt y-ny gan Dduw. Yr hyn betheu hefyt a ymadroddwn, nyd yn y geiriae ‡ 'dengys doethinep dynol, anyd yr ei a * dengys yr Yspryt glan, gan ‡ gyffelypu petheu ysprytol y betheu ysprytol. Eithyr y dyn * anianol ny ‡ chynwys betheu'sy o Yspryt Duw: can ys ynfydrwydd ynt ganto ef: ac ny dychon ef eu hadnabot, can ys yn ysprytol eu ‡ dosperthir. Eithyr yr hwn'sy sprytol, a wyr barnu pop peth: ac yntef ny bernir y gan ‡ nebun. Can ys pwy a wybu ueddwl yr Arglwydd, val y gallei y * gygori ef: anyd y mae genym m'beddwl Christ,

*wyr
‡anyd, amyn
*gwypem
‡ddoniwyt
*ddysc
‡ddysc
‡gymharu
*naturiol
†derbyn, dyall, synnia
*bernir
‡vndyn
*addyscu

## Pen. iij.

*awdurieit

Paul yn ceryddu y gohanedigaethen a'r * cychwynwyr: Ny ddyly neb gredu may a'r law y gweinidogion y mae ei iechydwrieth, amyn y ar law Duw. Bot yddynt ymogelyt rac cam ddysc. Bot Christ yn sailvaenei Eccles. Mddas a' swydd yn gystal y gweinidogion a'r oll Kydalonieit.

A C ny allwn i ymadrodd wrthych, broder, megis wrth rei ysprytawl, anyd wrth rei cnawdol, 'sef megis wrth ‡ blant-bychain yn-Christ. Llaeth a rois yn ddiot ywch, ac nyd bwyt: can nad allech eto y oddef, ac ny's

‡rei

any's gellwch etwa chwaith, Can ys etwa cna=
wdol ytych: o bleit bot yn ych plith ymgenvigenu,
ac ymchynnen, ac *ymrysoneu, anyd ydych chwi yn
gnawdol ac yn rhodio val dynion? Can ys pan
dywait vn, Ys mi vn i Paul, ac arall, Ys mi i A-
pollos; anyd ych yn gnawdol? Pwy gan hyny yw
Paul? a' phwy yw Apollos, anyd y gweinidogion
drwy'r ei y credesoch, a' megis y rroes yr arglwydd
i pop vn? Mivi a blannais, Apollos a ddyfrhaodd,
eithr Duw a roddes y *cynnyd. Ac velly, na yr hwn'sy
yn plannu, nyd yw ddim, na'r hwn 'sy yn dyfrhau,
anyd Duw yr hwn 'sy yn rhoi'r cynnydd. A' hwn
a blann, a' hwn a ddyfrha, yr vn ynt, a' phop vn a
dderbyn ei ‡ gyfloc, * erwydd ei labur. Can ys nyni
cydweithwyr Duw ydym: chvvitheu yw llafurwaith
Duw, ac adailadeth Duw. Erwydd y rrat Duw y
roeswyt y-my, megis penadailwr celfydd, y go=
sodeis y sailiad, ac arall 'sy yn adailiad arnaw: anyd
‡ edrychet pop vn, pa vodd yr adaila arnaw. O
bleit * sailiat arall ny ddychon neb y'osot dyeithr
yr hwn a 'osodet eisioes, yr hwn yw Iesu y Christ.
Ac a's adeilat neb ar y sailiat hwn, aur, arian, main
gwerthfawr, prennen, gwair, ne sofl, gwaith
pop vn a amlygir: can ys y dydd ei dengys, can ys
gan y tan y datguddir: a'r tan a brawf ‡ waith pop
vn *pa ryw wedd vo. A's bydd gwaith vn a'r a
adailadodd ef ‡ arucha, yn aros, ef a gaiff gyfloc.
A's llysc gwaith * vn, ef a goll, eithr cadwedic
vydd ef e: and er hyny megis gan y tan. Any wy=
ddoch may Templ Dduw ‡ ydych, a' bot yspryt
Duw yn trigo ynoch? A's *dinistra neb Templ

*ymryso=nion

*tyfiant

‡daliat

*yn ol ei waith

‡synned]

*sylvaeniat grwndwal

‡dreta

*o ba hanoedd

‡arno

*nep

‡ywch

*llygra

Duw, *hwnw a dinistr Duw: can ys Tẽpl Duw sanctaidd yw, yr hwn ‡yw-chwi. Na thwyllet neb y hunan. A's nep yn eich plith 'sy yn tybiet y bot yn ddoeth yn y byt hwn, byddet ffol, val y bo yn ddoeth. Can ys doethinep y byt hwn, ffolinep yw gyd a Duw: o bleit may yn scrivenedic, Ef a dalha y doethion yn eu *callter chunain. A' thrachefn, yr Arglwydd a wyr bot meddyliae 'r doethion yn ‡weigion. Ac am hyny nac *ymhoffet neb yn-dynion: can ys ‡pop dim 'sydd y chwi. Pa vn bynac ai Paul, ai Apollos, ai Cephas ai'r byt, ai bywyt ai angeu, ai petheu *cydrychiol, ai petheu y dyvot, 'sef ydd y chwi ynt oll, a' chwi 'sydd yddo Christ, a' Christ yddo Duw.

*yntef ‡ydychwi

*dichell, ystrymieu ‡goegion *ymryfyget ‡chwi bieu pop peth

*presennol, cynnyrchiol

## Pen. iiij.

Gwedy darvot iddo ddosparthu swydd Apostol cywir, Can na chydnabyddent ef yn gyfryw vn, Ymae ef yn ymarvel a barn Duw. Gan guro y lawr y gogoniant hwy yr hwn ei rhwysrei i vohanu y peth, a ancamolet ynto ef. Y mae ef yn dangos pa beth y mae yn y erchi ar y rhan hwy, a' pha beth a ddylyent y edrych am dano ar y law ef gwedy 'del atwynt.

*Yr Epistol y iij. Sul yn Advent.*

Cymret dyn nyni mal hyn, megis *gweinidogion Christ, a' ‡llywodraethwyr dirgelion Duw. Ac am ben hyn, y gofynynnir gan y llywodraethwyr, gael pop vn yn ffyddlon. Am dana vi, lleiaf dim cenyf, bot im barnu genwch, neu gan

Tybiet *gwasanaethwyr, ‡trinwyr, gwastradwyr, gorchwylwyr, ystiwardieit

gan * barn dyn : ac nyd wyf chwaith im barnu vy hunan. Can na wn i arna vy hun ddim evoc, a nyd wy'n cyfiawnheit er hyny: eithyr yr hwn am barn i, yw yr Arglwydd. Er mwyn hyny na vernwch ddim cyn yr amser, ‡ y'n y ddel yr Arglwydd, rhwn a oleuha * guddiedigion betheu'r tywyllwch, ac a eglurha veddylyae'r galon, ac yno y bydd moliant y bawp gan Dduw. Sef y petheu hyn, brodur, ar gyffelypiaeth a gyffoneis ata vyhun ac Apollos, er eich mwyn chwi, val y dyscech wrthym ni, na bo y neb ‡ rybygu yn uwch nac hyn a yscriuenwyt val na ymchwyddo vn yn erbyn y llall * er mwyn neb. Canys pwy ath 'ohana di? a' pha beth 'sy genyt a'r ny dderbynieist? ac a's derbynieist, paam ydd ymhoffy di, vegis na's derbyniesyt? * Yn awr ydd ych chwi yn llawn : yn awr ich cyvoethogwyt : ydd ych yn teyrnasu ebom ni, a' Duw ‡ na baech yn teyrnasu, val y teyrnasem ninheu y gyd a chwi. Can ydd wyf yn tybiet vod y Duw ein danvon ni yr Apostolion * dywethaf, val'r ei wedy ei ‡ darparu y angeu : can ys in gwnaethpwyt ni yn ys-ddrych ir byt, ac i'r Angelion, ac i ddynion. Ydd ym ni yn ffolieit er mwyn Christ, a' chwithe yn ddaethion in-Christ : nyni yn weinion, a' chwithe yn gryfion: chwy chwi yn * anrydeddus, a' ninheu ‡ yn ddianrydedd. Yd yr awr hon ydd ym ni yn newynu, ac yn sychedu, ac yn noethion, ac in bonclustir, ac ‡ eb wastadva, ac yn lavurio gan weithio an dwylo ein hunain: nyni a * gawn senneu a'bendithio ydd ym : ydd ys in hymlid, ac ydd ym yn dyddef. Ydd ys in ‡ cablu, ac ydd ym yn gweddio :

*ddydd
‡hyd pan
*llwybae'r lochesae
‡synnied, beddwl
*ym-plaid
‡ymffrostt
*Yr awrhō
‡yny
*olaf
‡hwylio, trefnu gosot
*'ogonedus
‡dirmygas
*ddiorigle, yn crwydro o le i le
*ddyfynnir ddystreulir
‡difenwi, drigenwi

in gwnaethpwyt ni val * carthion y byt, yn ‡ grei-
fion pop peth, yd hyn. Nyd wyf yn scrivennu y pe-
the hyn er eich cywilyddio, anyd val vy-plant care-
digion ydd wyf ich rybudio. Can ys cyd bei y chwi
*dec mil o athrawon in-Christ, er hyny nyd oes y-
chvvi nemor o dadeu: can ys in-Christ Jesu mybi
a'ch ‡ enillais trwy'r Euangel. Am hyn yr atoly-
gaf ywch', bot yn ddilynwyr i mi. O bleit hynn yd
anvonais Timotheus atoch, yr hwn yw vy-care-
dic vap, a' ffyddlon yn yr Arglwydd, yr vn a go-
ffa i chwi vy ffyrdd i yn-Christ megis ydd wyf yn-
pop lle yn * ei dyscu ym-pop-Eccles. Y mae'r ei
wedy ymchwyddo vegis pe na ddelwn atoch. Ci-
thyr mi ddawaf atoch ar vyrder, a's ‡ ewyllysa yr
Arglwydd, ac a wybyddaf, nyd ymadrodd yr ei
'sy vvedy 'r ymchwyddo, anyd * y meddiant Yspry-
dol. Can ys teyrnas Duw nyd yvv yn-gair, anyd
ym-meddiant. Peth a ewyllysiwch? a ddawaf i
atoch' a gwialen, ai a * chariat, ac yn yspryt ‡ bo-
neddigeiddrwydd.

*dascubion brynti
‡sorod, vratie
*Gr. myrdd
‡cenedlais, cesais
*dangos
‡myn
*nerth gallu
*trwy
‡llednei-frwydd, ser-chawgrwydd

## Pen. v.

Mae ef en ceryddu yn dost ei yscaelusdra hwy yn cospi yr hwn a wnaethei * dra lloscrach, Gan vynnu yddynt y escommuno ef. Erchi arnaer purdap. Ac ymogelyd enwiredd.

E‡Glywir yn ollawl vot godinep yn eich plith, a' chyfryw * 'odinep ac na hen-wir vnwaith ym-plith y Cenetloedd, sef ‡ cymeryd o vn wreic ei dat. Ac ydd ywch-

*incest, 'sef godinep o vewn y gradden gobarddedic
‡Mae son cyhoeddus
*ffornigrwydd, putein-dra
*bod i vn

yw-chwi yn ymchyddo, ac yn gynt paam na thrist-
aech, y'n y thynnit ymaith o'ch plith yr vn a w-
naethoedd y weithred hon. Can ys myvi yn ddi-
an val yddwyf yn absen yn y corph, wyf yn ‡ bresē-
nol yn yr yspryt, a bernais eisioes megis pe by-
ddwn presentol, pan yvv am yr hwn a wnaeth y
peth hyn, gwedy y'wch ymgynnull ynghyt, a'm
yspryt i, yn Enw yr Arglwydd Iesu Christ, bot
iddaf am y cyfryw, ‡gan veddiant ein Arglwydd
Iesu Christ, y roddi i Satan, er dinistr y cnawt,
val yr iachaer yr yspryt yn-dydd yr Arglwydd Iesu.
Nyd yw dda eich ymhoffedd: any wyddoch y * le-
vain ychydic ‡ levein yr oll does? Gan hynny
certhwch yn 'lan yr hen levein, val y byddoch chvvi
does newydd, val ydd ych ‡ ddilevein llyt: can ys
Christ ein Pasc a aberthwyt trosom. Am hyny
cadwn wyl, nyd a'r hen levein, nac yn levein *dri-
gioni ac anwiredd: eithyr a delevein llyt vara pur-
deb a' gwirionedd. Mi scrivenais atoch mewn
epistol, na bei ywch ddim cydgymddeithas a godi-
nebwyr, ac nyd yn ollawl a godinebwyr y byt
hwn, neu a'r ‡ cupyddion, neu a *chribdeilwyr,
neu ‡a delw addolwyr: o bleit a's amgen rhait
ywch vynet allan o'r byt. Eithr yn awr y scrivenais
atoch, na *bo ywch gydgymdeithas: a's oes neb
a elwir yn brawt, yn'odinebwr, neu yn ‡cupydd
neu yn ddelw-addolwr, neu yn *gablwr, neu vn
meddw, neu yn gribddeilwr, y gyd a'r ‡ cyfryw
vn na bwytewch. Can ys beth 'sy i mi a wnelwyf
ar varnu hefyt yr ei sy oddy* allan? anyd yw-chwi
yn barnu yr ei 'sy oddy vewn? and mae Duw yn

‡gydrychiol
‡trwy
*sura
‡waddot
‡anwaddo-
lyt
*malis
‡trachwant
wyr
*anghyfar-
chwyr, tro-
wsion, treis-
wyr
‡ac eidolō-
*chymysc-
och, chydgō
peinioch
‡tra chwan
tus
*sennwr,
ym serthwr
‡fuwt
*vaes

barnu yr ei'sy oddy allan. Bwriwch ymaith gan hyny och plith yr yſcelerddyn hwnw:

## Pen. vj.

Ef yn y beio arnyn am ymgyfreithio gere bron y Cenetloedd anffyddlon. Bot yn iawn i Christnogion yn gymrodeddu. Y mae ef yn ceryddu y cam arver o'r rydit Christianol. Ac yn dangos y dlem ni waſanaethu Duw yn burol ys o gorph ac enait.

A ‡ Vaiddia yr vn o hanoch chwi 'sy ido a hawl a'r y llall, gymryd barn y dan yr ei ancyfion, ac nyd yn gynt y dan y Saintæ? A ny wyddoch, mae'r ſainctæ a barnan y byt? A's y byt gan hyny a vernir * genwch-chwi, a ydyw-chwi anteilwng y barnu am ‡ betheu o'r lleiaf? A ny wyddoch y barnwn ni yr Angelion? chwaythach barnu petheu'sy 'n perthynu tu ac at ein * buchedd ni? A' chan hyny a'd oes genwch varneu am betheu'sy yn perthynu ir ‡ buchedd hon, cadeiriwch yr ei dirmygaf yn yr Eccleſ. Er cywilydd ywch y dywedaf. Velly anyd oes neb doeth yn eich plith chwi? nac oes vn, a * vedr barnu rhwng y broder? Anyd bot brawd yn ymgyfreithio a brawd, a' hynny y dan anffyddlonieit. Yr owhon gan hyny y mae yn ollawl ‡ anortho yn eich plith, can ych wy ymgyfreithio ai gylydd: paam yn gynt na ddyoddefwch gam? paam yn gynt na byddwch dan gollet? Ei-

* Lebys

* trwydoch

‡ vateroedd diffrwyth

* trwydded, goſymdaith

‡ trwydded

* ddychon

‡ anallu, bai ffawt, pall

* yn eich plith eich hunain

wyrydd yw-chwi yn gwneuthur cam, ac yn peri gollet, a' hyny * y'ch brodur. A ny wyddoch na ‡ etifedda'r ei ancyfiawn deyrnas Duw? Na thwyller chwi: ac nyd godinebwyr, na * delw-addolwyr, na'r ei a dorr-priodas, na'r ei ‡ drythyll, na gwryw-gydwyr, na llatron, na chupyddion, na meddwon, na senwyr, na * chribddeilwyr, a etifeddant deyrnas Duw. A' ‡ chyfryw oedd 'r ei o hanoch vvi: eithyr darfot ych golchi, eithyr darvot ych sancteiddio, eithr darvot ych cyfiawnhau yn Enw ein Arglwydd Iesu, a' * chan yspryt ein Duw ni.

Y mae pop peth yn ‡ gyfreithlon y mi: and nad pop peth yn gwneuthur lles. Y mae pop peth yn rhydd ym, eithr ny byddaf bi * y dan awdurdot dim. Bwyd a ordeinivvyt ir bola, a'r bola ir bwydydd: a' Duw a ddinistr ‡ bop vn-o'rddau. Weithian y corph nyd yw y' odineb, anyd ir Arglwydd, a'r Arglwydd ir corph. A' Duw hefyt gyfodawdd yr Arglwydd fyny, ac a'n cyfyd ninheu gan * ei veddiant. A ny wyddoch bot eich cyrph yn aelodae i Christ? velly a gymeraf vinef aelodae Christ, a'u gwneuthur'n aelodae putain? ‡ Na ato Duw. A ny wyddoch, am yr hwn a * ymlyn a phutain, y bot yn vn corph? can ys y ddau, ‡ eb yr ef, byddant vn cnawt. A nyd yr hwn a gyssylltir ar Arglwydd, vn yspryt yw. Ciliwch rac godineb: pop pechat a wna dyn, o *ddyallan y corph y mae: anyd yr hwn a wna' odinep, a becha yn erbyn y gorph y hunan. A ny wyddoch, bot eich cyrph yn Templ ir yspryt glan, yr hwn 'sy ynoch, yr ‡ vn 'sydd y-chwi gan Duw? ac nyd ydywch yddoch ych hunain. Can ys prynwyt

*yr
‡beddiant
*eiddolon
‡rhwdfus mwysus
*angyfarchwyr
‡sulwt hyn
*thrwy
‡rydd
*yn gaeth i ddim
‡y naill a'r llaill
*trwy ei nerth, allu
‡Nawdd dyw rac hyny, ymbell vo
*ymgyssyllto
‡medd
Ymogelwch
*ddybaes
‡ydd ych yn ei gael

chwi er prid gwerth: can hyny gogoneddwch Dduw yn eich cyrph, ac yn eich yspryt: can ys *yddo Duw ydynt.

*Duw ei pieu

## Pen. vij.

Yr Apostol yn atep i cyw*'orchestion, a deilyfei y Corinthiait gael eu gwybot, megis am byw o un eb priodi, Am ddlyed priodas. Am ancydbyddiaeth ac amrafaelion mewn priodas. Am priodas rhwng ffyddlonion ac anffyddlonion. Am ddianwaedu yr enwaededic. Am gaethiwet. Am worwyndot. Ac ail priodas.

*gwestione

Bellach am y petheu a scrivenesoch ataf, Da oedd i *ddyn na chyffwrddei a' gwreic. Anyd er hyny, y ymgadvv rac godineb, bid ei wraic i bop‡gwr, a bid ei gwr *priod i bop gwreic. Rodet y gwr ir wreic ‡gariad dylyedawl, a'r un mod hefyt y wreic ir gwr. Nyd oes ir wraic vediāt ar y chorph y hunan, anyd ir gwr: a'r un ffynyt hefyt nyd oes ir gwr veddiant ar y gorph y hunan, anyd ir wreic. Na ‡siomwch ddim y gylyd, oddyeithr o gydsynniat dros *amser, val y ‡gallochymroi i umpryddio a' gweddio, a' thrachefn dyvot ynghyt rac y Satan eich *temto o bleit eich ‡ancymmesurwydd. A' hyn a ddywedaf o ganiataad, ac nyd wrth 'orchymyn. Can ys mynnwn vot pawp megis ac ydd wyf vi vyhun: eithr i bop un y mae ei briod *dawn gan Dduw, i un vellhyn, i arall vellhyn accvv. Am hyny y dywedaf wrth yr ei'sy eb priodi, a'r gwragedd gweddwon,

*wr
‡un
*yhun
‡ewyllysgorwch
*bryd
‡caffoch, en hyd, ne ar-vot
*probi
‡anlladrwydd, anllywodraeth
*roddiat

gweddwon, mae da yw yddynt pe's arosent megis ac ydd vvy hi. Eithyr an'ys ymgynnaliant, priodent: can ys gwell yw priodi, nac ymlosci. Ac i'r ei priot y gorchmynaf, nyd mi, anyd yr Arglwydd, Nac ymadawet y wreic y worth ey gwr: ac a's ymedy, *aroset eb priodi, neu ‡gymmodet hi ai gwr, ac na *roed gwr ei wreic ymeith. Ac wrth y ‡reiwmi'sy yn dywedyt, ac nyd yr Arglwydd, A's bydd vn brawd a gwreic iddo, eb iddi gredu, a'hithe yn boddlon y drigo gyd ac ef, na wrthódodet ef hi. A'r wreic y bo iddi wr *eb gredu, ac ef yn boddlon y drigo y gyd a hi, na wrthddodet hi efo. Can ys y gwr di-gred a sainteiddir ‡ gan y wreic, a'r wreic ddigred a saincteiddir gan y gwr, a's amgen, e vyddei eich plant chvvi yn aflan: ac yr owrhón y maent vvy yn sainctaidd. Eithyr a's yr angreddyn a ymedy, ymadawet: nyd yw brawd neu chwaer yn gaeth yn-cyfryw betheu. Eithyr Duw a'n galwodd *yn-‡ tangneddyf. Can ys beth a wyddas ti, wreic, a gedwych di dy wr? Neu beth a wyddos ti, wr, a gedwych di dy wreic ai amgen? And megis y rhannodd Duw ddavvn i bop vn, megis y galwodd Duw bop dyn, velly y rodiet: ac velly ddwyf yn ordeino yn yr oll Ecclesi. A's galwyt nebun wedy'r enwaedy arnaw? na chascled ei ddienwaediat: a'alwyt nebun eb ei enwaedu? nac enwaedet arnaw. Enwaediat nyd yw ddim, a'dienwaediat nyd yw dim, anyd cadwad gorchymyneu Duw. Arosed pop vn yn yr vn galwedigaeth y galwodd Duw ef. Ai ath ti yn *was ith'alwyt? na bid waeth genyt: anyd a's gelly gael bot yn rhydd, arver

*triget
‡heddycher
*heled, yrred
‡lleill
*ganes
‡allan o ffydd
*erwydd, o bleit

*i
‡heddwch

*gaeth

arver yn * gynt. Can ys hwn a'elwit yn yr Argl-
wydd ac ef yn was, 'sy 'wr-rhydd yr Arglwydd: yn
gyffelyp hefyt yr hwn a'elwir ac ef yn wr-rhydd,
gwas Christ yw. Ef ach prynwyt er * pridgwerth:
na byddwch weision dynion. Brodur, pop vn yn
yr hynn y galwyt, yn hynny aroſed gyd a Duw
A' thuac at am ‡weryddon, nyd oes genyf vn gor-
chymyn gan yr Arglwydd, a nyd rhoi'r wyf gygor,
val vn a gafas drugaredd gan yr Arglwydd y vot
yn ‡ffyddlawn. Tybiet ydd wyf gan hyny bot hyn
yn dda ‡ er mwyn yr angenrait * cydrychiol: 'sef mae
da i ddyn bot velly. A wyt yn rhwym ‡ i wreic?
na chais dy ellwng: a ellyngwyt di y wrth wreic?
na chais wreic. Eithyr a's * gwreicy, ny phechit:
ac a's ‡ vn wyry * a wra, ny phecha vvdd hi: er hy-
ny cyfryw'r ei a gant * blinder yn y cnawt: a nyd mi
ach arbedaf. A' hyn a ddywedaf, brodyr, can bot
yr amser yn vyr, rhac llaw ‡ val y bydd ir ei 'sy a
gwragedd yddyn, bot vegis pei baent eb-ddynt:
a'r ei a wylant, megis pe baent eb wylo: a'r ei a
lawenhant, val petent eb lawenhau: a'r ei a bry-
nant val petent eb veddyannu: a'r ei a ‡arverant
o'r byt hwn val petaent eb ei arver: can ys * ffurf y
byt hwn a dynn ymaith. A' mynnwn eich bot yn
ddiofal. Yr hwn 'sy eb wreica, a'ofala am betheu
yr Arglwydd, pa wedd y rango bodd yr Arglwydd.
A'r hwn a wreicaodd, a'ofala am betheu'r byt,
pa wedd y rango bodd y wreic. Y mae gohaniaeth
hefyt rhwng moddion gwreic a' * gwyryf: yr hon
eb wra, a ofala am betheu'r Arglwydd, y bot o
hanei yn sanct ‡ aidd o gorph ac yspryt: a'hon a wra-
hodd, a

hytrach, dwy
*yn ddrud
‡gweryfon, worynion-ieuainc
‡gredadwy
*presennol
‡gan
*priody wreic
‡morwyn-ieuanc
‡priodas wr
*gyftudd, trwbl
*y ty y
‡bwynha-ant
*gosgedd rhith, lew
*morwyn-ieuanc
‡es

[bo]dd, a'ofala am betheu'r byt, pa wedd y rengo
[...] bodd ey gwr. A' hyn a ddywedaf er eich lles, nyd
er eich ceisio mewn magl, anyd er y chwi ddilyn yr
hyn, ysy weddus, a' glynu yn * 'lud wrth yr Ar-
glwydd, yn ddi ‡ 'ohanedic. Eithr a's tybia neb
bot yn anweddus ym * wyryf, ad a-hi dros ‡ blo-
dae ei-hoedran, a' bot yn angenrait * hyny, gwna-
ed ef a vynno, ny phecha: ‡ prioder hwy. And hwn
a saif yn * ffyrf yn ei galon, eb angenrait arnaw,
ac ‡ a meddiant ganto ar y wyllys y hun, a'bwriadu
hyn yn ei galon, gadw ei wyryf, da y gwna ef. Ac
felly yr hwnnai rhydd * yw phriodi, a wna yn dda,
a nyd yr hwn ny's rydd yw phriodi, a wna yn well.
Y mae'r wreic yn rhwym wrth y Deddyf, tra vo
byw hei gwr: and a bydd ‡ marw ei gwr, y mae
hyn rhydd i briodi'r neb a vynno, yn vnic yn yr
Arglwydd. Er hyny * mwy gwynvydedic yw hi,
o's erys hi velly, yn vy-barn i: ac ydd wyf yn tybi-
ed bot * i ‡ mi hefyt yspryt Duw.

* ffeit
‡ yscar
* borwyn
ieuanc
‡ advedwch
* velly
‡ priodent
gwrhaent,
* ddyscoc
‡ awdurdot
llywodraeth, rheol
* i wr
‡ huna,
chwsc
* dedwyddach
‡ genyf

## Pen. viij.

Y mae ef yn ceryddu yr ei 'sy yn arver ei rhydit er rhwystro eraill, gan vyned ir lle ir aberthit ir * gau dduwieu, Ac yn dangos paddelw y dylyei ddynion ymddwyn tu ac at yr ei gweinion.

ACam y petheu a ‡ aberthir ir geu-dduwieu: gwyddom bot genym * bawp wybodaeth, gwybodaeth a chwydda, anyd cariat a adaila. Ac a thybia nep y bot yn gwybot ‡ peth, ny wyr ef eto ddim val y * dyly wybot.

* eidolon,
delwen
‡ offrymir
ir delwen
* oll
‡ dim
* dirpic

*ddyscwyt

bot. Anyd a's car neb Dduw, e ‡ gafas hwn wybodaeth gantaw ef. Can hyny am bwyt-a aberthir ir eiddolon, gwyddom nad yw *eiddol ddim yn y byt, ac nad oes ‡ neb Duw arall, anyd vn. A' chyd bot 'rei a elwir yn ddeuwieu, ai yn y nef, ai yn y ddaiar, (megis y mae duwiae lawer, ac arglwyddi lawer) er hynny i ni nyd oes and vn Duw, ‡ 'sef y Tat, o ba vn y mae pop peth, a ninneu *ynddo ef: ac vn Arglwydd Iesu Christ, gan yr hwn y mae ‡ yr oll petheu, a' ninen trwyddo yntef. Eithyr nyd oes gan bawp gyfryw wybodaeth: can ys rei a chanthynt gydwybot ir *eidol, yd yr awrhon, a bwytaant val yn peth wedy' aberthu ir eidol, ac velly eu cydwybot yn bot yn wan, a halogir. Eithyr ny wna bwyt ni yn gymeradwy gan Dduw: can ys a's bwytawn, nyd oes i ni vwy: nac any bwytawn, nyd oes i ni lai. Anyd ‡ gwelwch rac ich *meddiant hwnw bot yn achos tramgwydd ir ei 'sy weinion. Can ys a's gwyl nep di 'sy a gwybodaeth genyt yn eistedd i bwyta yn *teml yr eidolon, anyd ‡ addyscir cydwybot yr hwn 'sy wan, i bwyta or petheu hyny a aberthwyt ir *eidolon? A' ‡ chan dy wybodaeth di y cyfirgollir dy brawt gwan, dros yr hwn y bu varw Christ. Ac a'chwi yn pechu velly yn erbyn y brodur ac yn *briwo ei gwan gydwybot hwynt, ydd y-wch yn pechu yn erbyn Christ. Erwydd paam a's ‡ tranewydda bwyt vy-brawt, ny bwytawyf gic yn tragyvythawl, rac ym beri im brawt *dramcwyddo.

Margin notes:
*ddyscwyt
*delw
‡vn
‡yr hwn yw
*drwyddo, ganto
‡pop peth
*ddelw
‡gwiliwch, ymogelwch synnwch
*awdurdot, rhydit
*yr eidolfa
‡adailir
*delwegau dduwieu
‡thrwy
*clwyfo, archolli
‡rhwystra
*ymrwystro

## Pen. ix.

...e yn ei hanuoc wrth y esempl ef y arver oi rydoit y adeilad eraill. Bod yddyn redec yn yr vn rediat ac y dechreusont.

Anyd wyf yn Apostol: ar y dwyf vvr ryð? any wlais i Iesu Christ ein Arglwyð? anyd vy-gwaith i ydyw-chwi yn yr Arglwyð: Any dwyf yn Apostol i eraill, eto diau yvv vy-bot y chwi: can ys yð yw-chwi yn insel* o'm Apostolieth yn yr Arglwyð. Vy ‡atep ir ei am holant i, yw hyn, Anyd oes i ni veddiant y vwyta ac yyfet? Neu anyd oes i ni veddiant i *arwein y amgylch gwreic a vei chwaer, ‡megis ac y mae'r Apostolion eraill, a' megis* broder yr Arglwydd, a' Chephas? Ai myvi yn vnic a' Barnabas, anyd oes i ni veddiant y weithiaw? Pwy a ryfely vn amser ar ei‡'osymddaith i hun? Pwy a blann winllan, ac eb vwyta oi ffrwyth? neu pwy a *borth ‡ dda, ac ny vwyty o laeth y da? A ddywedaf i hyn *erwydd dyn? Any ddywait y Ddeddyf y petheu hyn hefyt? Can ys scrivenedic yw yn-Deddyf Moysen, Na phenrhwyma eneu yr ych a vo yn ‡ dyludo'r yd: a ydyw Duw yn gofalu dros yr ychen? Ai ynte ðywet ef hyn yn ollawl er ein mwyn ni? Er ein mwyn ni yn* dioer yð scrivenwyt hyn, bot y hwn a arðo, aredic dan 'obaith: ac y hwn a ddyrno dan 'obeith, vod yn gyfranoc oi 'obaith. A's heuesam ni y chwi betheu spryttol, ai mawr yvv o's ni a vedvvn eich pethen dayarol chwi? A'd oes eraill yn eich plith yn cahel ran o'r ‡mediant hvvn, pam *yn gynt na d ym ni? er hyny nyd arveresam ni o'r mediant hwn: anyd‡ godef ydd ym pop dim,

*breinsol
*vy
‡amddeffen
*arwedd, tywys
‡yn gystal
*cereint
‡vyhunan
*gost
‡basc
*gadw, bar-ri debeit
‡val, yn ol
*safn
‡dyrnu
*wir
*awdurtot
‡hytrach

rrac

rrac y ni rwystro Euangel Christ. Any wyddochwvi am yr ei 'sy yn * gweithio' ynghylch ‡ petheu sainctaidd, y bot wy yn bwyta o betheu 'r Templ a'r ei 'sy yn gwasanaethu'r allor, y bot wy yn gyfranoc gyd a'r allor: Velly hefyt yr ordeiniawdd yr Arglwydd, bot ir ei a precethant yr Euangel, byw *wrth yr Euangel. Er hyny mi nyd ymarbereis o ddim o'r petheu hyn: ac nyd scrivenais hynn yma, val y gwnelit velly i mi: can ys gwell vyddei i mi varw, na gwacau o neb vy-gor ‡ voledd. O bleit a's Euangelaf, nyd oes ym 'orvoledd: can ys angen 'sy im gyrrn, a' gwae vyvi, any d *Euangelaf. Can ys a,s gwnaf hyn ‡ yn ewyllysgar, y mae mi *daliat: and a's yn anwyllysgar y gvvnaf, e roddet arnaf y gorchwyl yma ei siius. Pa daliad vydd ymy gan hyny: sef pan Euangelwyf, bot ymy ‡ beri Euangel Christ yn rhat val na chamarverwyf vy awdurdot yn yr Euangel. Can ys cyd bwyf yn yn rhydd y wrth bawp, eto mi am gwneuthym vyhun yn was i bawp., val yr enillwn vwy o hanynt. Ac ir Iuddeon ir ymwneuthum val Iuddew, val yr enillwn yr Iuddeon: i'r ei sydd y dan y * Ddeddyf, val pe bysvvn y dan y Ddeddyf, val yr enillwn yr ei 'sy dan y Ddeddyf: i'r ei di-ddeddyf, val vn diddeddyf (a' minehu eb bot yn ddiddeddyf ‡ ym ac at Dduw, anyd yn y Ddeddyf gan Christ) val yr enillwn yr ei di-ddeddyf. Ir * gweinion yr ymwneuthym yn wan, val yr enillwn y gweinion: i bawp yr ymwneuthym yn bop ‡ dimval y gallwn ym-pop modd gadw'rei. A' hyn wyf yn ei wneuthur er mwyn yr Euangel, val y bwyf yn gyfranot

*gwasanaethu
‡yn y deml
*ar, or
‡alwen, llewenydd
*phrecethaf yr Euangel
‡om bodd
*gyfloc' obr
‡wneuthur
*Gyfreith
‡yn-'uw
*gweinieit
‡peth
*Yr Epistol ar y Sul Septuagesima*

rannoc o hanei gyd a chvvi. Any wyddoch, am yr ei a vo yn rhedec mevvn gyrsa, bot pawp yn rhedec, er hyny bot vn yn mynet a'r* gamp: velly rhedwch fel y gallo-ches cael gavael. A' phop dyn a * ymdrecho-am-gamp, a ymgymedrola rac pop dim: ac wy a vvnant hynn er mwyn cael coron ‡ darvodedic: a' ninheu er vn andarvodetic. Am hyny ddwyf vi yn rhedec, nyd val yn anilys: velly ddwyf yn ymdrech, nyd mal vn yn * curo yr awyr. Eithr ydd wyf vi yn ‡ goarsengi vy-corph ac yn y ‡ ddarestwng: rac metron vn modd gwedy ym precethu i eraill, vy-bot vy hunan yn * ancymeradwy.

Yr Epistol ar y Sul Septuagesima.
*gyngwystl
‡yny chaffoch avel,
meddiannu
*prysono
‡lygrudic
*ffysto
‡darestwng
corbwyo,
gwaethiwo
‡inheu
*amprovadwy, goec
gwliedic

## Pen. x.

Pe el yn ei hofni wy ac esempl o'r Iudeon, nad ymddiriedōt yn gnawdol yn-doniae Duw, Can ei hanoc y ymogelyd rac pop ryw delw-addoliat, A' rhac rhwystro ei cymydoc.

HEfyt, broder, ny vynwn ychwi an-wybot, pā yvv bot ein oll tadeu gynt y dan yr wybren, a'u myned oll trwy'r mor, a'u batyddio vvy oll y dan Moysen, yn yr ‡ wybren, ac yn y mor, ac a vwytesōt *bawp yr vn bwyt yspryttawl, ac a yfesont bawp yr vn ddiot yspryttawl (can ys vvy yfesont o'r vn graic yspryttawl rhon oedd yn dyvot ar ol: a'r Graic oedd Christ) eithr y lawer o hanwynt nyd oedd Duw boddlon: can ys bworwyt wy y lawr yn y diffaithvvch. A'r ei hyny ‡ oeddent esemplae y ni, val na byddei y ninheu * chwenychu am drwc

Yr Epistol y ix. Sul gwedy Trintot.
‡cwmwl
*oll
‡'sy
‡'sy
*drachwantu

bethen, bal ac y chwynechesont wy. Ac na bydwch *eidol-addolwyr, mal y bu rei o hanwynt wy, megis y mae yn scribenedic, Eisteddawdd y popul y bwyta ac ybet, ac a gyvodesont i chwarau. Ac na wnawn 'odinep, mal y gwnaethyr ei o hanynt wy 'odinep, ac a gwympiodd mewn vn diernot teir-mil ar vgain. Ac na themtiwn Christ, megis ac y temptiawdd r'ei a hanaddynt wy ef, ac eu distrywyt gan seirph. Ac na ‡ vurnurwch chwi, megis ac y murmurodd rhei o hanynt wy, ac au dinistrwyt gan y dinistrydd. A'r pethau hyn oll a ddeuth yddynt wy er esemplae, ac a escribenwyt er rybydd i ni, ar ba rei y dygwyddawdd *tervynae ‡ yr oesoedd. Can hyny hwn a debic y vot yn sefyll, edrychet rac iddo gwympo. Nyd ymablawdd ynoch ‡ demtation, addieithyr vn dynawl: a'Duw 'sy ffyddlawn, yr hwn ny ad eich temto chwi uchlaw hyn a alloch, eithyr gyd a'r *temtation y gwna ef ‡ ellyngdawt, bal y galloch *ymdaro: Erwydd paam vy-carediggion ‡ ffowch rrac eidol-addoliad. Dywedyt ydd wyf val wrth rei pwyllioc: bernwchwi pa beth wyf yn ei ddywedyt. *Phiol y bendith rhon ydd ym yn ei bendithio, anyd communn gwaet Christ yw? y bara rhwn a dorwn, anyd commun corph Christ yw? Can ys nyni yr ei ym ‡ lawer oedd ydym vn bara, ac vn corph, can ys yn bot ni oll yn gyfranogion o vn bara. Edrychwch ar yr Israel ‡ rhwn 'sy *erwydd y cnawd: anyd yw'r ei a vwytaant o'r aberthau, yn gyfranogion o'r allor? Beth ddywedaf gan hyny? ai bot yr ‡ eidol yn ddim neu bot yr hyn a aberthir ir *eidolon yn ddim? nag yw.

*delw-
*rwgnachwch
*dywedd y ‡ byt
‡ brovedigeth
*provedigeth
‡ ddiangfa
*aros, ddyoddef
‡ ciliwch ymogelwch
*Cwpan, diowdlestr
‡ liosoc
*ar ol, o vlelt
‡ delw-gaddwdulw
*delweu

yw, anyd am y pethau a abertha y Cenetloedd, eu bot yn y haberthu y gythreulieit, ac nyd i Dduw: ac ny fynnwn y chwi vot yn cymddeithas a'r cythreulieit. Ny ellwch yfet o phiol yr Arglwydd, ac o phiol y cythreulieit. Ny ellwch vot yn gyfranogion o *vord yr Arglwydd, ac o vord y cythreulieit. Ai annogwn ni yr Arglwydd y ddigio? a ydym ni yn gadarnach nac ef? y mae pop ‡peth yn *rhydd i mi, eithr ny wna pop peth les: pop peth 'sy rydd i mi, eithyr nyd yw pop peht yn addailad. Na cheisiet neb y peth 'sydd yddaw y hun, anyd pop vn lles y ‡arall: Beth bynac a werthir yn y gigva bwytewch, eb ymofyn dim er mwyn cydwybot. Canys *yddaw'r Arglwydd y ddaiar, a'i chyflawnder. A's bydd neb o'r ei ny chredant, ich gohawdd i'th wyttheu yn myned, beth bynac a ddoter gyr eich bron, bwytewch, eb ymofyn dim * er mwyn cydwybot. Eithyr a's dywait nep wrthych, E a aberthwyt y peth hyn ir eidolon, na bwytewch ddim hano, o bleit hwn a ei dangosawdd, ac er cydwybot (canys yr Arglwydd bieu'r ddayar, a' chwbl 'syd yntheI) a'r gydwybot meddaf, nyd tau di, anyd vn arall: can ys paam y bernir vy rrydit i gan gydwybot vn arall? O bleit a's myvi trwy ddawn Duw a wyf gyfranoc, paam im ceplir i, am yr hyn ydd wy vi yn diolvvch? Am hyny pa vn bynac a wneloch ai bwyta ai yfet, ai peth arall, gwnewch bop peth er gogoniant i Dduw. Na vyddwch achos *tramcwydd, nac ir Iuddeon, nac ir Cenetloedd, nac i Eccles Duw: 'sef megis ac ydd wy vi yn rhengy bodd pawp ym pop peth, eb geisio y lles vy hunan, anyd lles llaweroedd, val e bont ‡cadwedic.

*bwrdd
‡dim
*gyfreithlō
‡llall, gylydd
*yr Arglwydd bieu'r ddaiar
*galw
*o bleit, o ran
‡eidole, delwe
*rhwystr
‡iachedic

## Pen. xj.

Mae ef'yn ceryddu y cammarveraeu a ymlithresynt y Eccles hwy. Megis ynghylch gweddiaw, prophwyto, A'gwneuthu Swper yr Arglwydd, Gan eu hedvryd yw'olodiat cyntaf.

Byddwch ddilynwyr i mi, megis ac ydd wyvi i Christ. Yr owrhon, vrodur, ich canmolaf, can ywch goffau vy oll betheu, a' chadw'r ordenhadeu, val y rhoesym y'wch. A mi a wyllyswn ywch wybot, mae Christ yw pen pop gwr: a'r gwr yw pen y wreic: a' Duw yw pen Christ. Pop gwr yn gweddiaw, neu yn * prophwytaw ac a' dim ‡ am ei ben, a amparcha ei ben. Eithyr pop gwreic a weddia neu a brophwyta yn bennoeth, amparcha hi phen: can ys yr vnryw beth yw hyny, a' phe bei wedy eilliaw. Can hyny any bydd y wreic *a dim am hei phen cneifier hi hefyt: a's ‡ gwradwydus i wreic hi chneifio neu h'eillio, * rhoed beth am hi phen. Can ys gwr ny ddyly ‡ wisco am i ben: can y bot ef yn ddelw ac yn'ogoniant Duw: a'r wreic yw gogoniāt y gwr. Can nad yw'r gwr o'r wreic, amyn y wreic o'r gwr. Can na *chreawyt y gwr er mwyn y wraic, anyd y wreic er mwyn y gwr. Am hyny y ‡ dylei y wreic bod yddet *veddiant ar y phen, o bleit yr Angelion. Er hyny, ac nyd yw'r gwr eb y wreic, na'r wreic eb y gwr yn yr Arglwydd. Can ys megis y mae'r wreic o'r gwr, velly y mae'r gwr hefyt trwy'r wreic: a' phop dim'sy o Dduw.

*precethu
‡ar

*wedy thoi
‡gwarth, cywilydd
*toer hi
‡doi

*wnaethpwyt
‡dirpir
‡allu bower

ddwyw. Bernwch ynoch ych unain, ai *hardd yw
gwreic weddiaw Duw eb ‡dim am i phen? A nyd
ywyntef *anian yn ‡dyscu ywch, a's bydd * bri-
geri wr, mae mae *anglod yw iddo? Ac a's bydd bri-
geri wreic, clod yw yddei: can ys ei briger a roed y-
ddei ‡tu ac wisc pen. A'd oes nep a vyn vot yn ym-
rysongar, nyd oes genym ni gyfryw * gynnevot
na chan ecclesi Duw.

Weithian yn hyn a venagaf, ny'ch canmolaf, sef
ych bot yn ymgynull, nyd er lles, anyd ir * afles.
Can ys yn gynta dim, pan ymgynulloch ir Eccles,
mi a glywaf vot ymrysoneu yn eich plith: ac ydd
wyf yn credu y vot yn vvir o ran. Can ys ‡ dir yw
bot travvs-opinionae yn eich plith, megis y bo yn
eglur y rei 'sy yn * berffeith yn eich plith. Am hy-
ny pan ddeloch ynghyt ir vn lle, nyd hynn yw bwy-
ta Swper yr Arglwydd. Can ys pop vn wrth bwy-
ta, a gymer y swper y hun o'r blaen, ac vn 'sy a ne-
wyn arno, ac arall 'sy veddw. A nyd oes ‡ ychwy dai i
vwyta ac y yfet ynthynt? a dremygwch-vvi Eccles
Dew, ac a warthew-chwi'r ei nyd oes dim ganth
wynt? pa beth a ddywedaf wrthych? a ganmolaf
chwi * yn hyn? na chanmolaf. Can ys derbyniais
y gan yr Arglwydd yr hyn ‡ ac a roddais y chwi,
nid amgen, Bot ir Arglwydd Iesu y nos-hon y bra-
dychwyt ef, gymeryt bara. A' gwedy yddo ddio-
lowych, ef ai torres, ac a ddyvot, Cymerwch, bwy-
tewch: hwn yw vy-corph, yr hwn * a dorir drosoch:
gwnewch hyn er coffa am danaf. Yr vn modd he-
fyt y cymerth ef y ‡ phiol, gwedy yddaw swpery, gan
ddywedyt, Y phiol hon yw'r Testament newydd

*gweddus
‡eb i thoi
*natur
‡dangos
*gwallt hir
*cywilydd
‡yn lle to
*ddevot

*Yr Epistol ddydd Iou cyn die Pasc*

*eniwed, drwc
‡angenrait
*brovedic

‡genwch

*ar
‡hefyt

*ydd ys yn ei dori

‡calic, cwpan

*trwy, gan
* yn vy-gwaet: gwnewch hyn cynniuer-gwaith-
bynac yr yfoch, er coffa am danaf. Can ys cynni-
‡amser
uer ‡ gwaith bynac y bwytaoch y bara hwn, ac
*cwpan
yr yfoch y * phiol hon, y dangoswch angeu yr Ar-
‡yd tra
glwydd ‡ y'n y delo. Can hyny, pwybynac a bwy-
*'r
tao'r bara hwn, ac a yfo * y phiol yn anteilwng,
‡camgilus
a vydd ‡ 'auawc* am ddirmygu corph a' gwaed yr
*o
Arglwydd. Am hyny ‡ provet pop dyn yhun, ac be-
‡cyhwliet
lly bwytaet o'r bara hwn, ac yfet o'r phiol hon.
Can ys hwn a vwyta o ac a yfo yn anteilwng, a
*ddienydd, ddamnedigeth
vwytyac a yf y * barnedigaeth y hun, can nad yw
yn iawn-varnu am gorph yr Arglwydd. O blegit
hyn y mae llawer yn weinion; ac yn gleifion yn
‡cyscu, meirw
eich plith, a' llawer yn ‡ hunaw. Can ys pe in
*poenit, cospit
barnem einhunain, ny ein * bernit ni ddim. Eithr
pan in barnir, in cospir y gan yr Arglwydd, rac ein
barnu yn-euawc gyd a'r byt. Can hyny, vy-bro-
dur, pan ddeloch ynghyt i vwyta, aroswch eu gy-
lydd. Ac a's bydd newyn ar neb, bwytaet gartref,
‡mewn
rac eich dyvot yn-cyt * i varnedigeth. Tu ac at am pe-
theu eraill, mi au trefnaf pan ddelwyf.

## Pen. xij.

Gohanieth donieu yr Yspryt glan a ddyscir ei arverer adail.
Eccles Christ, Megis y mae aelodae corph dyn yn gwa-
sanaethu er mwynianteu eu gylydd.

NEllach am yspryttawl ddoniæ, broder, ny vynnwn y chwi anwybot. Gwyddoch mae Genetloedd oeddech, ac ich ducit ffvvrdd at * eidoleu ‡ mution, megis ich tywysit. Am hyny ydd espesaf y'wch, nad oes nep yn ymadrodd * trwy yspryt Duw, yn galw Iesu yn escommunbeth: he-byd nyd oes nep a all dywedyt mae'r Iesu yw'r Arglwydd, a ddieithr trwy'r yspryt glan. Sef y mae ‡ amryw ddonieu, eithyr yr vn yspryt. Ac y mae amryw * wasanaetheu, eithyr yr vn Arglwydd. Ac ymae amryw weithrediadae anyd yr vn Duw ydyw, ysydd yn gweithredu yr oll petheu hyny ym-pawp. Eithyr amlygiat yr yspryt y bop vn y rhoddir er ‡ llesiant. Can ys y vn y rhoddir trwy'r yspryt ymadrodd doethinep: ac y arall y rhoddir ymadrodd gwybyddieth, trwy'r vn ryvv yspryt: ac y arall y rroddir ffydd, trwy'r vn ryvv yspryt: ac y arall * doniae i iachau trwy'r vn ryvv yspryt: ac y arall weithredyadæ gweithredoedd ‡ nawrion: ac y arall prophwytoliaeth: ac y arall vvybot gohanieth yspytoedd: ac y arall, amryw dafodew: ac y arall * ladmerieth tafodeu. A'r oll petheu hyn a weithreda'sef yr vn ryw yspryt, gā rannu yn ailltuawl i bop dyn megis yr ewyllysiaf. Can ys megis y mae y corph yn vn, ac yddaw llawer o aylodae, a'r oll aelodae yr vn corph, cyd baent llawer, eto nyd ynt anyd vn corph: ‡ ac velly y mae Christ. Can ys trwy'r vn yspryt in batyddiwyt yn vn corph, pa vn bynac vom ai Iuddaeon, ai

*Yr Epistol y x. Sul gwedy Trintot.*

* ddelwen

‡ tafiafar

* gan

‡ amrafaelion

* wenidogaetheu, swyddae

‡ llesy ac ef

* rhoddiat

‡ nerthawc

* esponiat, teongl

‡ ys

Groecwyr, ai * caithion vom, ai rhyddion, ac in gwnaethpwyt y yfet ‡yn yr vn yspryt. Canys y corph hefyt nyd yw vn aylod, anyd llawer. A's y troed a ddywait, Can nad ‡wyf y llaw, nyd wyf o'r corph, anyd yw hi er hyny o'r corph? Ac a's dywait y glust, Can nad wyf i lygat, nyd wyf o'r corph: anyd yw hi er hyny o'r corph? A's yr oll corph vyddei lygat, p'le byddei'r clywedigeth? a's yr cwbl vyddei yn glywedigeth, p'le bydei'r arogledigeth? Ac yr awrhon ef a 'osodawdd Duw yr aelodae bop vn o hanyn yn y corph val y bu da ganto ef. Canys pe baent oll vn aelod, p'le byddei'r corph? Ac yr awrhon y mae aelodae lawer, ac eto vn corph. A'r llygod ny all dywedyt wrth y llaw, Nyd *rait i mi wrthyt: na'r pen drachefn wrth y traet, Nyd rait y mi wrthych. Eithyr yn bwy o lawer yr aelodae hyny ir corph, a dybir eu bot yn ‡wescaf, syd yn angenreidiol. A'r aelodae hyny ir corph, yr eid dybiwn eu bot yn * amparchedichaf, y gosodwn bwy o‡ barch*yn ei cylch: a'n aelodae anhardd sy a mwy o harddiwch am danwynt. Can nad rait in aelode hairddion vvrthavv: eithyr Duw a gyd artemperawdd y corph, gan roddy mwy o barch ir lle 'r oedd yn ddefficiol: Rac bot ancydvot yn y corph: anyd bot i'r aelodeu gyd 'ofalu dros y gylyd. Can hyny a's doluria vn aylod, e gyd-doluria'r oll aelodae: a's anrydeddir vn aylod, e gyd-doluria'r oll aelodae: as anrydeddir vn aylod, ydd lawenhau a wna'r ol aeloodae. Ac ydd yw chwi yn gorph Christ, ac yn aelodae bob vn o ran. A' Duw a lunieithawdd rei yn yr Eccles: megis yn gyntaf, Apostolion

*gweision
‡ir
‡mi
*oes arnaf i oth eisie di
‡wanaf
*anhonestaf
‡ddiwilk
*am danynt, arnynt
‡dyoddef

..lion, yn ail Propwyti, yn trydydd ‡ dyscyawdwyr, yno yr ei wnant * wyrthiae: gwedy hyny, donieu iachau, canhorthwywyr, llywodaethwyr, ‡ rhywiae tavodydd. Ai Apostolion pawp? ai Propwyti pawp? ai dyscawdwyr pawp? a wna pawp wyrthieu? a oes gan bawp ddoniae i iachau? a yw pawp yn cael ymadrodd a' thavodeu? a ydyw pawp yn medru * latimeru? A' deisyfwch vvi y donieu goreu, ac eto y dangosaf ywch ffordd ‡ dra ardderchawc.

‡doctorieit
*vedianteu
‡amrafaelion
*deongl, esponio, cyfieithu
‡yn dra dyval

# Pen. xiij.

..an bot cariat yn ffynnon ac yn rheol y adaflat yr Eccles, y mae ef yn yscythru ei natur, ei swydd ai voliant.

Ed ymddiddanwn a' thavodeu dynion ac Angelion, a mi eb gariat, perfeith genyf, yr wyf val * efydd yn seiniaw, neu cymbal yn tincian, a' phe gvvyddvvn prophwyto, a' gwybot oll ddirgelion, a' phop ‡ celfyddyt, a' phe bei genyf yr oll ffydd, mal y gallwn ysmuto mynyddedd, a' bod eb gariat, nyd wyf ddim. A' phe porthwn y tlodion am oll da, a' phe rhoddwn vy-corph, * im llosci, a' bot eb gariat, nyd dim lles-ymy. Cariat ys y ‡ ddyoddefus, y mae yn gymwynascar: cariat ny chenvigena: cariat * nyd ymffrostia: nyd ymchwydda: ny ‡ ddiystyra: ny chais yr yddaw y hunan: ny * chythruddir: ny veddwl ddrwc: ny lawenha am * ancyfiawnder, anyd cydlawenhau a

*Yr Epistol ar y Sul y elwir Quinquagesima.*
*elydon, pres
‡gwybyddieth
*yw losci
‡hwyrddic, ymorthous
*ys ydd ddiglec, ddianwadal
‡dychana
*annogir i brochi, chyffroir
*enwiredd

*gwirionedd: godef pop dim, credu pop dim: gobeitho pop dim: ymaros ym pop dim. Cariat byth ny chwympy ymeith, cyd ‡ pallo prophetolaethae, ai peidiaw tavodae, ai diblannu gwybodaeth. Can ys o ran y gwyddom, ac o ran ydd ym yn* prophwyto. Anyd gwedy y del yr hyn 'sy perfeith, yno yr hyn 'sydd o ran, a ‡ ddileïr. Pan oeddwn yn * bachcen, mal bachen ‡ yr ymdidanwn, mal bachcen y dyallwn, mal bachcen y meddyliwn: and pan aethym yn wr, mi roisym heibio * bachcenaidd rwydd. Can ys yr awrhon yddym yn gweled *mewn drych ar ddamec: and yno y gwelwn wyneb yn wyneb. yr awrhon yr adwaen o ran: and yno yr ‡ adnabyddaf megis ac im * adwaenir. Ac yr awrhon y mae yn aros ffydd, gobeith a' chariat, sef y tri hyn: a'r pennaf or ei hyn yvv cariat.

*gwiredd, cyfiawnder
‡dyleiir
*dangos dyscu ereill
‡difflennir
*vab
‡y dwn, bwriawdd synniwn
*bachcendit, bethe bachcenaidd
*drwy wydr yn odywyll
‡gwybyddaf
*dyscir, addyscir

## Pen. xiiij.

Eiriol bot cariat y mae ef, a' chanmol dawn tavodae, a' donniae yspryttol ereill, Eithyr yn bennaf prophwyto. Y mae ef yn gorchymyn i verchet ymossegu yn yr Eccles, Ac y mae yn dangos pa ryw vrddasdrefn a ddylit ei gadw yn yr Eccles.

Dilynwch gariat, a' deisyfwch ddoniæ yspryttawl, ac yn hytrach bot y chwi prophwyto. Can ys yr hwn a ‡ ymddiddan davot dieithr, nyd *wrth ddynion yr ymddiddan, a‑nyd wrth Dduw: can nad oes neb yn

*Erlidiwch Canlynwch
‡lavara,
‡ymadrodd, dywet
‡a

yn ei* glywet: er hynny yn yr yspryt y mae ef yn
ymddiddan dirgelion: eithr hwn 'sy'n prophwy=
to, a ymddiddan wrth ddynion er adailad, ac er
cyngor, a'chonfort. Yr hwn a ddywait mevvn ta=
fot dieithr, ai hadail y hunan: a'nyd yr vn a proph=
wyta a adail yr Eccles. Mi vynnwn pe * llavarech
chwy dabot diethr, a'nyd yn gynt bot y chwi proph=
wyto: can ys mwy yw'r vn a brophwyta, na'r vn
a lefair amryvv dafodae, o ddieithr ydd ei ddeongl,
yn gyfuel o'r Eccles dderbyn adailad. Ac yr awrhon,
vroder, a's dawaf i atoch gan lavaru amrafael da=
fodae, pa les a wnaf ychwy, dyeithr ymddiddan o
honaf wrthych, ai drwy ddatguddiat, ai drwy wy=
bodieth, ai drwy brophetolieth, ai drwy ‡ ddysc=
eidaeth? Hefyt petheu di * enaid wrth roi ‡ llais,
pyvn bynac vo ai ‡ chwibanogl ai telyn, dyeithr yd=
ynt roi gohan yn y lleisiae, pa wedd y gwyddir beth
a genir ar y chwibanogl neu ar y delyn? A' hefyt
as yr * vtcorn a rydd lais ‡ anhynod, pwy a ymba=
ratoa i r thyvel? Ac velly chwitheu, trwy'r tafod o dy=
eithr ywch adrodd geiriae * yn arwyddocau, pa
wedd y dyellir beth a ddyweder? can ys bydd=
wch yn ymddiddan yn ‡ yr awyr. Y mae cynni=
fer o rywiegaethe lleisiae, (val y * bydd) yn y byd, ac
nyd oes vn o hanynt yn ‡ vut. Can hyny a ddyeithr
yn wybot grym y llais, mi vyddaf yn * barbarus
i'r vn a vo yn ymddiddan, a'r vn a ymddiddan, vydd
barbarus i minheu. Ac velly chwitheu yn gymeint
ac ych bot yn deisyfy donia yspyrytol, ceisiwch dra ra go=
fuacat ‡ adeiladeth yr Eccles. Erwydd paam,
gweddiet yr hwn a ymddiddan a thafod dieithr, ar

yddo

*ddyall
‡llavaru, dywedyt
*ymddiddanech
‡athrawaeth
*byw
‡iain, son, swn,
‡pip
*trwmpet
‡aneglur, anwybot.
*eglur, dyallus
‡yn ofer
*dygwydd
‡aflafar
*estronial=thus.
‡ddirprwyaw y yn nulleidia.

*ddi
‡ar
*bwyll
‡ar
*brydferth, dda
‡Gr.myrdd
*wefusae
‡wrandawant
‡ynbydu
*beiir
‡cyfrinache

ydd vedry ddeongl. Can ys a's gweddiaf mevvn tabod diethr, e weddia vy yspryt: anyd y mae vy dyall eb ddimffrwyth. Beth wrth hyny? gweddiaf gan yr yspryt a' gweddiaf gan *ddyal hefyt, canaf a'r yspryt 'a chanaf a'r dyall hefyt. Ac anyd ef, pan vendithych ‡gan yr yspryt, pa wedd y bydd ir hwn 'sy yn lle andyscedic, ddywedyt Amen, ar bryd dy ddiolwch di, can na wyr ef beth a ddywedy? Can ys diau dy vot ti yn diolvvch yn *ddibei, eithr nad yw'r llall yn cael adailadaeth. Im Duw y diolchaf, vy-bot yn dywedyt tafodeu yn vwy na chwi oll. Er hyny yn yr Eccles gwell genyf dywedyt pemp gair a'm dyall er mwyn ymy hefyt addyscu eraill, na ‡dec mil o eiriae mewn tabod dieithr. Vroder, na bydwch vechcin o dyall, eithr am drigioni bydwch vechcin, anyd o ddyall byddwch gwbl-oedran. Yny Ddedyf ydd yscrivenir, Drwy 'rei o dabodae ereill, a' thrwy *iaithoedd eraill yr ymadroddaf wrth y popul hyn: eto velly ny ‡chlywant vi, medd yr Arglwydd. Can hyny tabodae dieithr ynt yn lle arwydd, nyd ir sawl a credant, anyd ir sawl ny chredant: eithyr propwytoliaeth a vvasanaetha nyd ir ei a credant, anyd ir ei ny chredant. A's can hyny, pan ddel yr oll Eccles ynghyt yn vn, a' phawp yn dywedyt tavodeu dieithr, dawy mewn 'rei andyscetic, neu rei eb gredu, any ddywedant, eich bot gwedy ‡gorphwyllo? Eithyr a's pawp a propwytant, a' dyvot y mewn vn eb gredu, neu vn andyscedic, ef a *arguoeddir gan bawp, at a bernir gan bawp. Ac velly yr amlygir ‡dirgeloedd ei galon, ac velly y cwymp ef ar ei wynep ac yr addola Dduw, ac a ddywait

ywait yn 'oleu bot Duw ynoch yn ddiau. Beth
bellach, broder? pan ddeloch yn-cyt, vvrth val y
gan bop vn o hanoch psalm, neu bot ganto
dyscaidaeth, neu bot ganto davot, neu bot gantho
datguddd, neu bot gantho * esponiat, byddet
pop peth oll er adailieth. A dywait nep davot dieithr
gvvneler ‡ bob ddau neu o'r mwyaf bob dri, a
ar ‡gylch ac *esponet vn. Ac any bydd es=
poniwr, tawet a son yn y'r Eccles, yr hvvn a ddyvvait
ieithoedd, a' dywedet wrtho yhunā, ac wrth Dduw.
Dywedet y Prophwyti ddau, neu dri, a' barnet y
lleill. Ac a's datguddiwyt dim y arall a vo yn eisted
yno, tawet y cyntaf. Can ys chwi ellwch oll
prophwyto bop ‡ vn ac vn, val y gallont oll ddyscu,
oll gael ‡ confforth. Ac yspryttoedd y Prophwyti
y darestyngedic ir Prophwyti. Can nad ydyw
Duw yn avvdur ymrysongerdd, anyd tangneddyf,
megis y gvvelvvn yn oll Ecclesidd y Sainctæ. Ymo=
deget eich gwragedd yn y'r Eccles: can na chani=
atteir ydynt wy gael dywedyt: can ys * dirpr ydynt
wy bot yn ddarestyngedic, megis ac y mae y Dde=
ddyf yn dywedyt. Ac a's mynant ddyscu dim, ymo=
fynant ai gwyr ‡ gartref: can ys * gwarthus yw i
wragedd ‡ ddywedyt dim yn y'r Eccles. Ai y wrthy=
chwi y daeth gair Duw allan, neu ai atochwi yn
vnic y daeth ef? A's tybia nep y vot yhun yn Proph=
wyt, neu yn ysprytawl, cydnabyddet bot y petheu
a yscrivenaf atoch, yn'orchymynion y'r Arglwydd.
Ac ad oes neb yn anwybot, anwybyddet. Can hy=
ny, broddyr,* deisyfwch vot yvvch brophwyto, ac na
gwaherddwch ddywedyt ieithoedd. Gwneler pop dim

yn

*ddeongliat, gwneler
‡gan
‡Item
*ddeonglet
‡eilwers
*dicanwch
‡ydd wyf yn dangos.
*rhaid
‡y'rn rhef
*anhurdd
‡ymadrodd
*puchwch, damunwch.

melwn ordr

yn weddaidd, ac ‡ erwydd trefn.

## Pen. XV.

Mae ef yn provi bot cyvodedigaeth y meirw. Ac yn gyntaf bot Christ gwedy cyvodi. Yno y bydd y ninheu gyfody. Ar modd pa wedd.

*Yr Epistol yr xi. Sul gwedy Trintot.*

‡ bregethais

* aros

ACvvelc, broder, llyma vi yn menegi ywch yr Euãgel, rhon a ‡ euangelais y chwy, yr hon hefyt a dderbyniesoch, ac yn yr hon ydd ych yn * sefyll, a' thrwy 'r hon ich iachëir, a's cedwch yn eich cof, pa vodd yr euangelais y hi ychwy, a ddieithr darvot ywch gredu yn over. Can ys yn gyntaf dim, y rhoddeis ychwi yr hyn a dderbyniais, pa wedd y bu varw Christ tros ein pechateu, * erwydd yr Scrythurae, a'y gladdu ef, ac iddo gyvody y trydydd dydd, erwydd yr Scrythurae, a'ei weled ef gan Cephas, yno gan y dauddec. Gwedy hyny, y gwelwyt ef gan vwy na phempcãt broder ar unwaith: o'r sawl y mae'r ei yn aros hyd hyn, a'r ei hefyt gwedy ‡ hunaw. Gwedy hyny, e welspwyt gan Iaco: yno y gan yr oll Apostolion. Ac yn * ddywethaf oll e welspwyt geny vine hefyt megis gan un ‡ antempic. Can ys mi yw'r lleiaf o'r Apostolion, rhwn nid wyf * deilwng, val im galwer yn Apostol, can erlid o hanof Eccles Duw. Eithr gan 'rat Duw ydd wyf, hyn ydwyf: a'ei rat rhwn' sy ynof, ny bu over: eithyr mi a ‡ laburiais yn helaethach

* yn ol

‡ cysgu, sef meirw

* olaf

‡ aanet allan o dymp, ne amser

* wiw, gymmesur

‡ orabaelais

[...]ethach nac wyntwy oll: nyd ini * hagen, amyn [...]ychat Duw a'r y'sy gyd a mi. Can hynny pa vn by[...]nac ai myvi, ai wyntwy, velly y precethwn, ac velly y credesoch.

Ac a's precethir ddarvot cyvodi Christ o veirw, pa [...] y dywait 'r ei yn eich plith chwi, nad oes cy[...]odiadigeth y meirw? O bleit any d oes cyfodiadi[...]geth y meirw, velly ny chyfodwyt Christ. Ac any [...]chyvodwyt Christ, mae yntef ein precaeth ni yn [...], ac ys ofer hefyt yw ych ffydd chwi. Ac in ce[...]ni hefyt yn testion gauawc ‡ i Dduo: can ys te[...]stiasam * o Dduw ddarvot ydaw ef gyvody Christ [...]ynydd: 'rhwn ny's cyfodawdd ef y vyny, any chy[...] y meirw. Cā ys any chyfodir y meirw, ny chy[...]wyt Christ chwaith. Ac any chyfodwyt Christ, [...]ofer yw ych ffyd chvvi: yd ych eto yn eich pecho[...]. Ac velly yr ei 'sy wedy ‡ hunaw yn-Christ, a [...]golłwyt. A's yn y vuchedd hon yn vnic ydd [...]yn gobeithio yn-Christ, yr ei truanaf o'r oll dy[...]ion ydym. Ac yr awrhon e gyvodwyt Christ o vei[...]; ac a wnaethpwyt yn vlaenffrwyth yr ei a hu[...]. Can ys gwedy trwy ddyn ddyvot angeu, [...] dyn hefyd y daeth cyfodiadigeth y meirw. Can[...] megis, yn Adda y mae pawp yn meirw, velly [...] yn-Christ y bywheir pawp, eithr pop vn yn y [...] y hunan: y blaenffrwyth yw Christ, gwedy [...], yr ei 'syd i Christ, yn y dyvodiat ef y cyvodant. [...] y bydd y dywedd, gwedy rroddo ef y deyrnas [...] Dduw, 'sef y Tat, gwedy yddo ef ‡ ddileu pop [...]wedigaeth, a'phob awturtot a'meddiant. Can ys * rait iddo deyrnasu ‡ yn y ddoto ei oll 'elynion

* er hyny, chwaith

‡ am
* am

‡ cyscu, meirw

‡ dirymio, dadwneu, thur
* dir
‡ nes iddo ddodi.

nion y dan y draet. Y gelyn dywethaf a ddinistrir
‡ xydd angeu. Canys ef a ddarestyngawdd pop
dim y dan ei draet. (A' phan ddywait ef ddarvot
darestwng pop peth yddavv, y mae yn amlwc y bot
*ef wedy ei ddyeithro, a ddarestyngawdd bop peth
y danaw.) A' phan ddarestynger pop dim yddaw,
yno'r Map hefyt yntef a ddarestyngir y hwn, a
ddarestyngodd bop dim y danaw, val y bo Duw pop
peth oll yn oll. A's amgen beth a wnant wy a ve-
tyddiwyt ‡ dros veirw: a's y meirw ny chyfodir
*yn ollawl, paam y vatyddijr hwy dros veirw?
Paam y periclir ni bop awr? Gan ‡ ein gorfoledd
ys y genyf yn-Christ Iesu ein Arglwydd, ydd wyf
yn marw beunydd. A's ymleddais ac anifeiliaid
yn Ephesus yn ol dull dynion, pa leshad ymy, any
chyfodir y meirw? bwytawn ac yfwn: canys y-
voru y byddwn veirw. Na *thwyller chwi: ymad-
roddion drwc a lygran voyseu da. ‡ Dihunwch
y vyvv yn gyfiawn, ac na phechwch: can nad oes
gan 'rei wybodaeth *o Dduw. Er cywilydd ywch
y dywedaf hyn. Eithr e ddywait rywun, Pa vod
y cyvodir y meirw? ac a pha ryvv gorph y dauant
allan? ‡ A ynfyd, y peth ydd yw-ti yn ei heheu, ny
*vyweiddir, addieithr ydd varw. A'r peth yr wyt
yn ei heu, nyt wyt yn heu y corph a vydd, anyd y
gronyn noeth, megis y dygwydd, o wenith, neu
o ryw 'ravvn eraill. Eithyr Duw a ryd yddo gorph
val y ‡ bo da ganto ef, 'sef y bob hedyn y gorph y
hun. Nyd yxv *oll cnawd yr vn ‡ ryvv gwnaed, eithr
arall yw cnawd dynion, ac arall yw cnawd ani-
veilieit, ac arall i byscod, ac arall i *adar. ‡ Y mae
hefyt

‡ yvv
* hwnw
‡ yn lle meirw
* chwaith
‡ eich llawenydd
* hwder
‡ Diffrowch
* ain
‡ tydi ffol
* vyweir, vywoceir
‡ vu, yr e wyllysodd
* pop cic
‡ ehedlaid

hefyt gyrph nefol, a' chyrph daiarawl: anyd* arall
yvv gogoniāt yr ei nefol, ac arall yvv gogoniant, yr ei
daiarol. Arall yvv gogoniāt yr haul, ac aral gogo-
niāt y‡lloer, ac arall gogoniant y ser: canys amra
ffelia seren rac seren yn-gogoniāt, Velly hefyt y mae
cyuodiadigeth y meirw. Y corph a heuir *yn llwgredi
geth, ac a gyvodir yn anllwgredigeth. Ef a heuir yn ‡
amparch, ac a gyfodir yn-gogoniāt: e heuir yn-gw
endit, ac e gyuodir *yn-nerthoc. E heuir yn gorph ‡
anianol, ac a gyfodir yn corph ysprytol: y mae corph
anianol, ac y mae corph ysprytol. Ac velly y mae yn
scrivenedic, Y dyn cyntaf Adda a wnaethpwyt yn
enaid byw: a'r Adda dywethaf a wnaetpvvyt yn yspryt
bywiawdr. Er hyny ny wnethpvvyt yn gyntaf yr hwn
yw yn ysprytol: anyd yr vn anianol, ac yno yr vn y-
sprydawl. Y dyn cyntaf ys ydd o'r daiar, yn ddaiarol:
yr ail dyn yw yr Arglwydd o'r nef. Un ryw vn a'r
daiarol, cyfryw yvv 'r ei sy yn ddaiarolion: a' megis
yw sy yn nefol, cyfryw hefyt yw 'r ei nefol. A' meg-
ys *arwedesam delw yr vn daiarol, velly yr arwe
ddwn delw yr vn nefol. Hyn a dywedaf, broder, na
ddichon ‡ cnawd a' gwaed etiveddu teyrnas Duw,
ac nyd yw llwgredigeth yn etivedu anllwgredigeth.
Nacha vi yn dāgos ywch dirgelwch, Ny hunwn
ni oll, eithr newidir ni oll, ym-moment ac yn-traw-
iad *y llygat wrth lef yr vtcorn dywethaf: canys yr
utcorn a gan, a'r meirw a gyuodir yn anllygredic,
a ninheu a ‡ ysmutir. Cāys * dir yw ir peth llygrad
wy hwn wisco anllygredigeth, ac ir peth marwol
hwn wisco āmarwoleth. Velly gwedy ir peth lly-
gradwy hwn wisco anllwgredigeth, ac ir peth mar
wol hwn wisco āmarwoleth, yno y derbyd yr yma

*vn
‡lleuad
*mewn
‡ddianrydedd
*mewn meddiant
‡naturiol
*bywogi, bywogeth, a wna yn byw
*dugesam
‡cic
*Wely
‡pawp
*yr amrāt aryllall
‡newidir
*raid

benwyt, Angeu a lyncwyt er *buddugoliaeth, *Angeu, p'le may dy ‡ gonyn? y ‡ bedd-rod, p'le may dy buddygoliaeth? Conyn angeu ydyvv pechat: a' nerth pechat yvv'r Ddeddyf. An'd y Dduw y ddiolvvch, yr hwn a roddes i ni y buddygoliaeth trwy ein Arglwydd Iesu Christ. Can hyny by-caredic brodyr, byddwch *ffyrfion a' diymmot *helaethion yn wastat yn-gwaith yr Arglwydd, can y chwi wybot, nad yw eich llavur yn over ‡ yn yr Arglwydd.

*gorvodiaeth
‡golyn
*Angeu, p'le mae dy vuddugoliaeth?
‡bedd, p'le mae dy gonyn?
*safadwy a' diyscoc, di-sercyll
‡aml
*trwy, gan

## Pen. xvj.

Mae ef yn dwyn ar gof yddwynt am gasclu ir brodyr tlodion yn-Caersalem, Raid i ni barhau yn y ffydd, yn-cariat Christ a'n cymydawc. Gwedy ei hanerchion, y mae ef yn damunaw yddwynt cwbl llwyddiant.

TUac at am y casclu ir Sainct, megis yr ordeiniais yn Eccles Galatia, velly gwnewch chwi-theu hefyt. Pop dydd cyntaf o'r wythnos, dodet pop vn o hanoch heibio wrthoy hun, gan roi y gadw megis y rhoes Duvv yddaw *llwyddiant, val na bo ddim or casclu pan ddelwyf i. A' gwedy 'delwyf, pa 'rei bynac a gymeradwyoch drwy lythyrae, yr ei hyny a ddanvonaf y ddwyn ych ‡ cardawt y Caerusalem. Ac a's bydd yn gymesur mynet o hanof vi hefyt, wy ydd a want y gyd a mi. Yno y dawaf atoch, gwedy ydd elwyf trwy Macedonia (can

*ffyniant
‡rhat, rhod, cymmorth, haelder, ced

[...]wys mi ar trwy Macedonia) ac ef alrei yr arosaf,
[...], neu y gayafaf gyd a chwi, val im hebryngoch
[...]lebynac ydd elwyf. Can nad oes im bryd ym
[...]elet a chwi yr awrhon * ar vy hynt, and gobei=
[...]af yr arosaf enhyd gyd a chwi, a's gady yr Ar=
[...]lwydd. A'mi a arosaf yn Ephesus yd ‡ Pentecost.
[...]anys agorwyt i mi drws mawr a'grymus: a nyd
[...]ot gwrthnebwyr lawer.

*wrth vy=
ned

‡sef l. die,
y sul gwyn.

[...]c a's Timotheus a ddaw, edrychwch am y bot
[...]yn ddiofn * y gyd a chwi: can ys efe's y yn gwei=
[...]io gwaith yr Arglwydd, vegis ac ydd wy vinef.
[...]m hyny na ddiystyret nep ef: a nyd hebryngwch
[...]yn-tangneddyfus, val y delo at y vi: can vy-bot
[...]edrych am danaw y gyd a'r brodur. Ac am ein
[...]rawd Apollos, mi a ddeisyfeis arno yn vawr,
[...]ybot atoch y gyd a'r brodur: eithyr nad oedd yn
[...]bryd ef ‡ yn ollawl ddybot * yr awrhon: a nyd e
[...]aw pan gaffo amser cyfaddas.

*yn eich
plith

‡dim

*ar hyn o
amser

Gwiliwch: sefwch-yn-'lud yn y ffydd: ymwro=
[...]wch, ac ymnerthwch. Gwneler eich oll petheu
[...]yn-cariat: Weithian, brodur, atolygaf ywch (chwi
[...]adwaenoch duylu Stephanas, y vod yn vlaen=
[...]rwyth Achaia, a'darvot yddyn ymroi y weini'r
[...]Sainctae) bot o hanoch yn vvydd ir cyfryw, ac y
[...]awp's y yn cydweithio a ni ac yn * llavurio. Lla=
[...]wen wyf am dyvodiat Stephanas, a' Fortunatus,
[...]ac Achaicus: can yddyn hwy gyflawny ‡ y de=
[...]ffic o hano-chwi. Canys diddanesont vy * yspryt
[...]i a'r vn yddoch: cydnabyddwch gan hyny y cyfryw
[...]wi. Yr Eccleſidd yr Asia ach anerchant. Aquila
[...]ac Phriscilla y gyd a'r Eccles ys ydd yn y tuy hwy,

‡melwn

*trabaeln

‡yr eisieu
am dano=
chwi

*meddwl

a'ch anerchant yn vawr yn yr Arglwydd: y holl vrodur a'ch anerchant. Anerchwch bawp y gylydd a chusan sainctaidd ol. Vy anerchiat i Paul *a'r llaw veubi. A'd oes neb nyd yw yn caru yr Arglwydd Iesu Christ, bid ef ‡ anathema maranatha. Rat ein Arglwydd Iesu Christ gyd a chwi. Bo vy-cariat i gyd a chwi oll yn-Christ Iesu, Amen.

*am llaw vyhun
‡yn escomũ yd angeu

Yr epistol cyntaf at y Corinthieit; yscrivenedic o Philippi, ac anvonedic trwy law Stephanas, a Fortunatus, ac Achaicus, a'Thimotheus.

# Yr ail Epistol Paul at y Corinthieit.

## YR ARGVMENT.

MEgis na ellir scrivenu dim, nac mor perfeith, nac mor garedicwryd, a'r nad yw anvuddiol i lawer, ac yn wrthwynebus gan rei, velly yr epistol cyntaf a scrivenesei S. Paul at y Corinthieit, eb law y purdeb a'r perffeithrwydd a- thrawerch, a ddengys gariat arnynt wy yn chagori ym-pell tros veddylserch anianol: yr hwnn nyd yn vnic ny buddiawdd i bawp oll, anyd peri caledu calonhae llawer i aros yn ei cildinrwydd, a'thremygu awdurtot yr Apostol. Erwydd pa bleit S. Paul wedy i rwystro gan iawn *anachae y ddybot atynt wy, a

*achosion

scrive,

…nodd yr epistol hwn o Macedonia, gan ddeddfol gwyplau
…aith a ddechreasei yn ei plith wy. Yn gyntaf gan hyny y
…elyn erchi daioni yddynt yn yr Arglwydd, gan datcan
…arbot y ryw 'rei enwir gamarber oi gystuddion ef i ddi…
…mu wrth hyny y alwturtot ef, er hyny ydd oeddynt yn
…plad angenreidiol, ac wedy eu danbon yddaw ef gan
…w er gwellad yddynt wy. A' lle maent wy yn ceryddu am
…yn hir o ywrthynt, ny ddaeth hyny o ddim anwadalwch,
…y gydolwyn ai anabledd a'i amperffeithrwydd hwy, rac yddaw
…yn ei dadawl gariadserch, 'orbod arber o'r galgyfreith
…haf ei awdurdot. Ac am yr scribennu yn blaenllym a
…eddoedd yn yr epistol or blaen, ar ei bai 'n hwy bu
…, megis y mae yn awr yn eglaer, gan yddaw bop un
…e y sarhaed, ac yntef yn ediuarhau: a' hefyd can y bod
…onydd yn ei vedwl, nes cahel o honaw trwy Titus espe…
…ydd am ei stat a'i cyflwr wy. Eithyr yn gymeint a' bot gan
…yl yn bwrradu ‡ dibrtiaw y awdwrdot ef, y mae ef yn
…ddi ei gorchestadadl hwy ac yn cymmennu ei swydd, ai
…aelus wasanaethu hi: megis y gorbyddei i Satan dra…
…llygait, yr ei ny welynt ddysclaerdeb yr Euangel ar ei
…eth ef: gweithred yr hyn yw newyddab buchedd, ym…
…ot a nyni ein hunain, ymlyn a Duw, ciliaw rac del…
…oliad, a chroesawy y gwir ddysceidaeth, a' chyfryw
…ac a vag 'wir ediveirwch o honaw: wrth pa un y mae
…y ei gyssylltu trugaredd a' thosturi * parth an brodur:
…yd doethineb y ddodi gohan rhwng semlder yr Euangel, a'
…ch y gan precethwyr, yr ei wrth liw precethu'r gwirionedd
…yn yn unic lawy y boliae, lle yd oedd ef yn wrthwynep
…y yn y caisaw wyntwy, ac nyd eu da, megis yr oedd yr
…ymyrus hyny yn y * enllibiaw ef: erwydd paam wrth ei
…diat y mae ef yn bygwth yr ei a wrthladdant y awdwr…
…ef, y mae ef trwy esempl or egluraf, mae efe yw'r ffyd…
… gennadwr Jesu Christ.

‡ diwadnu

‡ tu

‡ rhyvygus, rhwyfus

* sclandro, hortio

# Yr ail Epistol

## Paul at y Corinthieit.

### Pen. j.

Datcan y mae ef vaint y budd a ddaw ir ffyddlonieit ywrth ei cystuddedic drabaelon. A' rhac yddyn bwrw yn yscavnder meddwl arnaw, ddarbod iddo oedi ei ddybodiad yn erbyn ei addewid, y mae ef yn provi ei ddwyscryd al ddianwadalwch, yn gystal gan ei burdep yn precethu, a' hefyt gan ddiysmudedic wirionedd yr Euangel. Yr hon wirionedd a ddyscylir ac a'rwndwelir a'r Christ, ac a inselir yn ein calonae gan yr Yspryt glan.

PAul Apostol Jesu Christ trwy * ewyllys Duw, a'n brawd Timotheus, at Eccles Duw, ys ydd yn Corinthus y gyd a'r oll Sainctæ, yr ei'sydd yn Achaia: Rat vo gyd a chwi, a' thangnefyf y‡ gan Duw ein Tat, a' chan yr Arglwydd Jesu Christ. Bendigedic yvv Duw 'sef Tat Arglwydd Jesu Christ, Tat y trugareddae, a' Duw yr oll * ddiddanwch, yr hwn a'n diddana ni yn ein oll ‡'orthrymder, val y gallom ddidanu yr

*gan wrth

‡wrth

*gonfort, ddyhudiant

‡blinder, trallod, trabael,

myr el'sy mewn * dim gorthrymder, trwy'r di= *neb, vn
ddanwch in diddenir ninheu gan Dduw. Can ys
megis yr amlheir dyoddefiadae Christ ynom, ve=
lly yr amlheir ein diddanwch ni trwy Christ. A'
phwy vn bynac ai in gorthrymer, er diddanwch
ac iechedvvrieth y chwi ydyvv, yr hon a weithir gan
ymaros yn yr vn ryw ddyoddefiadae, yr ei ddym ni
hefyd yn y dyoddef: ai diddaner ni, er diddanwch
ac iechedvvrieth y chwi ydyvv. Ac y mae ein gobeith ‡ddilys, ddiogel
yn ‡ ffyrfaín danoch, can y ni wybot megis ac ydd
ych yn gyfranocion o'r dyoddefiadae, velly y bydd= *ddaeth, wnaed a
wch hefyt gyfranoc o'r diddanwch. Can ys broder, ‡dros vesur
ny bynē ywch' anwybot am ein gorthrymdr, y* vu ytuhwnt in nerth
ini yn yr Asia, sef val y pwysiwyt arnam ‡ yn an=
heidrawl dros ben ein gallu, megis ydd oeddem= *sef am ein
wn-trachyfing-gyngor, * ac am yr ‡ einioes. ‡bywyt, hoedl,
o, ni a dderbyniesam varn angeu ynam, val na
weithem ynam ein hunain, anyd yn*-Duw, yr *yn-uw
hwn a gyfyd y meirw. Yr hwn a'n gwaredawdd
i ywrth gyfryw ddirvawr * angeu, ac 'sy yn ein *berigl
gwaredu: yn yr hwn ‡ y gobeithiwn, in gwareda ‡yr ymddiriedwn
hac llaw, a's chvvychwi a gydweithiwch yn-gwe
ddi trosam, pan yw tros y dawn a roddet y ni er
lawyn llawer, bod roi diolvvch gan lawer dyn y tro
sam. Can ys ein * gorvoledd ni yw hyn, sef testi= *gorawen, llawenydd
olaeth ein cydwybot, can ys yn ‡ symlder a' duwi= ‡diblyc, gwirionded
ol burdeb, ac nyd yn - doethineb cnawdawl, anyd
gan rat Duw y bu i ni ‡ ymgydtro yn y byt, ac yn ‡ymddwyn
* ben ddivaddef tu ac ato-chwi. Can nad ym yn *bennaf
scribennu amgenach betheu atoch', nac y ddar=
llenwch, neu ar ydd ych yn ei cydnabot, ac a 'obei=

thal y cydnabyddwch yd y dywedd. Sef megis y cydnabuoch ni o ran, ein bot yn orvoledd ychwi, megis ac ydd yw chwithe i ninheu, yn-dydd * yr Arglwydd Iesu. Ac ‡ yn y gobaith hyn ydd oedd im bryd i ddybot atoch * y tro cyntaf, val y caffech ‡ ddau rat, a' myned hebo-chwi i Macedonia, a' dybot drachefn o Macedonia atoch, a' chael vy * hebrwng genwch tua Iudaia. Gan hyny pan oeddwn yn aincanu val hyn, a arverwn i o yscavnder? neu wyfi yn aincanu y petheu'r wy'n aincanu, erwydd y cnawd, val y byddei gyd a myvi, ‡ Do, do, ac Na ddo, na ddo. Sef ys ffyddlon yw Duw, na bu ein gair tu ac atoch, Do, ac Na ddo. Can ys Map Duw Iesu Christ yr hwn a pregethwyt yn eich plith chwi genym ni, sef myvi, a' Siluanus a' Thimotheus, nyd ytoedd, * Do, ac Na ddo: eithyr yndo ef, ‡ Do y doedd. Can ys oll addeweidion Duw yndo ef ynt * Do, ac ynt yndaw ef Amen, er gogoniant Duw trwyddom ni. A' Duw yw'r hwn a'n cadarna ni y gyd a chwi yn-Christ, ac a'n ‡ enneiniodd ni. Yr hwn hefyt a'r inseliawdd, ac a roes * ernes yr Yspryt yn ein calonneu. Ac ydd wy vi yn galw Duw yn test i'm enait, may i'ch arbed chwi, na ddaethym i ‡ yd hynn i Corinthus. Nyd can eyn bot yn arglwyddiaw ar eich ffydd chwi, any d ein bot yn * ganhorthwywyr ich llawenydd: can ys gan ffydd y sefwch.

*ein
‡ar
*yn y blaen
‡ail
*arwain
‡bwriadu, meddwl
‡Ie, ie, ac Nag ef, nag ef
*Ie ac Nac ef
‡Ie
‡rodd
*wystleidiaeth
‡eto
*cyd-dirpwywyr

## Pen. ij.

Dangos

dangos ei gariat yddynt y mae ef. Gan erchi hefyd arnynt bot yn esmwyth wrth y godinablwr-cyfathrach, can idaw edivarhau. Mae ef hefyt yn ymhoffy yn-Duw droe nerthol-grwydd ei dyscediaeth, Gan orchymyn dadl y cyfryw gwerylwyr, ac wrth ymescus dadleu yny erbyn ef, nyd oeddent yn ceisio dim amgen, na dywreiddiaw y athrawaeth ef.

Eithr mi terbynais hyn yno y hunan, na ddelwn atoch drachefn *yn-tristit. O bleit a's mi ach tristaa chwi, pwy yw'r hwn am llawenha vi, dyeithyr hwn a dristawyt y can y vi? A'mi a scrivenais hyn yma atoch, rac pan ddelwn, cael o hanof tristit gan yr ei, y dylywn ymlawenhau: mae vy-gobaith ynoch oll, bot vy llawenydd hyn llawenydd y'wch 'oll. Can ys yn-gorthrymder mawr, a' chyfingder calon ydd yscrivenais atoch gan dda'grae lawer: nyd val ych tristaid chwi, eithr val y ‡ gwybyddech y cariat ys y genyf, yn enwedic y chwi. Ac a *gwnaeth nebun dristau, ny wnaeth ef i mi dristau, anyd o ran (rac i mi bwyso arnaw) y chwi oll. Digon yvv ir cyfryw vn *bod ei gerydd u gan lawer. Megis yn hytrach yn-gwrthwynep y dylyechwi vaddau yddavv, a' ei ddiddanu rac y llyncit y cyfryw vn y gan 'ormodd ‡ tristit. Erwydd paam, yr atolygaf'ywch, gadarnhau eich cariat arno. Can ys er mwyn hyn hefyt ydd yscrivenais, val y gwybyddwn brawf *o hanoch, 'sef a vyddech vvyddion ‡ i bop peth. Yr hwn y maddeuoch

‡ vernais
* mewn trymder
‡ yymeryd
* a dagre
‡ dyellech
* pharodd
‡ graffu
* gael
‡ tristwch, trymder
* am danoch
‡ ym-pop

och ddim yddaw, y maddeuaf vinheu hefyt: can ys yn wir a's maddeuais i ddim, ir hwn y maddeuais, er eich mwyn chwi y maddeuais, yn-golwc Christ, rac bod y Satan ein ‡gorchvygu: can nad anwybot genym y amcanion ef.

ŷno, pan ddaethym i Troas * er precethu euangel Christ, ac bot agori drws y-my'gan yr Arglwydd, ny chawn lonydd yn vy ‡ yspryt, can na vedrwn gael Titus vy-brawt, anyd * canu yn iach yddynt awnaethym, a' myned ymaith i Macedonia. Anyd y Dduw y ddyolvych, yr hwn yn wastat a wna yni ‡'orvot yn-Christ, ac a eglurha arogle y wybodaeth ef trwyddom ni ym-pop lle. Can ys ydd ym ni y Dduw yn ber * arwynt Christ, yn yr ei'n a ‡ iacheir, ac yn yr ein a gyfergollir. Ir ei hyn ydd ym yn * arogl bywyt, i vywyt, a' phwy sy ddigonol i'r petheu hyn. Can nad ym ni val y mae llawer, yn ‡ masnachu gair Duw: eithr val o burdap, eithr val o Dduw yn-gwydd Duw, ydd ym ni yn ymadrodd *yn-Christ.

‡
*i, y
‡meddwl
*ymiachau
‡gael y llaw uchaf, vynned armaes
*arogl, sawyr
‡gedwir
*arwynt, sawr
‡arwerthu
*o, am

## Pen. iij.

Cymeryd y mae ef yn esempl ffydd y Corinthieit yn brouedigaeth o'r gwirionedd a precethawdd ef. Ac y dderchafu y Apostoliaeth ef yn erbyn colffrost y gau Ebestyl. Y mae ef yn cyffelypu rhwng y Ddeddyf a'r Euangel.

ADdechreuwn ni ‡ ymganmol dra-
chefn: ai rait i ni val i eraill, wrth
* epistolae canmoliant atochvvi,
neu lythyræ canmoliāt y ‡ genwch?
Ein epistol ni ydyw-chwi, yn escri-
venedic yn ein calonae, yr hwn a
ddyellir ac a ddarllenir gan bawp
[...]yn, can ys eglur ydych, y bot yn epistol Christ, a
[...]asanaethwypt genym ni, ac a scrivenwypt, nyd *a
[...]y, amyn ac Yspryt y Duw byw, nyd yn lleche
[...]ainyn eithr yn-cnawdol leche y calon.

[...] chyfryw ymddiriet'sy genym trwy Christ ar
[...]uw: nyd erwyd ein bot yn ‡ addas o hanam ein
[...]unain, y beddwliet dim, megis o hanam ein hu-
[...]in: eithyr ein * addasdap ni ysydd o Dduw. Yr
[...]on hefyt a'n gwnaeth ni yn ‡ weinidogion di-
[...]ol i'r Testament newydd, nyd yn vvenidogion
[...] llythyren, amyn ir Yspryt: can ys y llythyren a
[...]add *a'r yspryt a rydd bywyt. Ac ad yw y wenido-
[...]eth angeu wedyr yscrivennu a llythyrennæ ai *ffur-
[...]iaw ym-mainin, bot yn-gogoniantus, mal na a-
[...]lai plant yr Israel edrych yn wynep Moysen, can
'ogoniāt ei wynepryd (rhwn 'ogoniant a ‡ ddilewypt)
[...]a wedd na bydd gweinidogeth yr Yspryt ym-
[...]wy o 'ogoniant? Can ys a bu gweinidogeth
*barnedigaeth yn-gogoniantus, mwy o lawer y
[...]hagora gweinidogaeth cyfiawnder yn gogoni-
[...]nt. Can ys yr hyn ac 'ogoniantwypt, ny 'ogoni-
[...]ntwypt yn y rhan ‡ hon, sef a berthyn ir gogoni-
[...]nt * trarhagorawl. O bleit a's hynn a ddileid y-
[...]maith, oedd yn-gogoniantus, mwy o lawer y bydd
hyn a

‡ ein molt ein hunain
* lythyrae
‡ wthych
* ac inc
‡ eleche
*Yr Epistol y xij. Sul gwedy Trintot.*
* obaith
‡ deilwng
ddigonol
* digonedd, teilyngdot
‡ Wenistreit
* ond yr
‡ argraphu
* dremio
‡ ddibawyt, a ddarvu am dano
* ganogrwydd
‡ hyn
* ardderchawc, arbenic

5 Ac uwch yr arch y Cherubym gogoneddus, yn kysgodi y drugareddva: am yr rain ni dawn ni yn awr i son am danyn bob vn or neiltu.

6 Wedi gosod yr rain mewn ordr y sut yma, ir Tabernacl cynta yn wir y rai bob amser yr effeiriad, sy yn gwasneuthu yr creuydd.

7 Ir ail yn wir y rai vnwaith bob blwyddyn yr archeffeiriad yn vnig, nid heb waed rwn a offrymmay ef trosto y hun, a thros anwybodaethe y bobl.

8 Yr yspryd glan yn arddangos hyn, nad oedd y ffordd ir cyssegrfa yn egored etto, tra fyddai y Tabernacl cynta yn sevyll,

9 Rwn ydoedd ffygur tros yr amser * kydrychol, yn yr hwn ir offrymmid rodion ac aberthau rrai ni allen ‡ lanhau ar ran cydwybod, yr hwn a wasnaythe'r-* crefydd,

10 Rwn oedd wedi y'osod yn vnic mewn bwydyd a diodydd, ac amryw ‡ drochiadau, a * Deddfay cnawdol, hyd oni ddele amser y dywygiad.

11 Eithyr Christ yn dyfod yn archeffeiriad y dayoni rrag llaw; trwy dabernacl fwy a'pherffeithiach, nid o waith dvvy llaw, sef yw hynny nid or edeiladeth ‡ yma,

12 Nid chwaith trwy waed * geifr a lloiau: eithr trwy y waed y hun i raeth ef vn waith y mewn ir cyssegrfa, ac a * gavas 'ollyngdod tragywyddol yni.

13 Oblegid os gwaed teirw, a' geifr a lludw ‡ heffr, wedi y danu ar y * llygredigion, a deilynga ar ran puredd y knawd,

14 Oba vaint mwy, y pura gwaed Christ, rwn

*presennol
‡sancteiddia
*gwasanaeth
‡olchiadeu
*cynnedfeu
*Yr Epistol y.v Sul yn y Grawys.*
‡hyn
*bwrcasodd
‡anneir, treisiad
*aflan

trwy yr yspryd tragowydd ay offrymmawdd ef y hun yn * ddifai y Ddyw, ych cydwybod chwi, o ddiwrth veirwon weithredoedd, y wasneuthu Dyw byw?

15 Ac am hynny y may ef yn gyfrwngwr, y Testament newydd, megis trwy farfolaeth rron oed ir gollyngdod y camweddau oeddent tan y Testamēt cyntaf, y derbyniay yr rrai oedd wedi eu galw, addewid yr etyveddieth tragwyddawl.

16 Oblegid lle bo Testament, rraid yw * digwyddo marfolaeth ‡ y testamentwr.

17 Can ys or meirw y cayff y testament eu' cymmachos ni does nerth yntho tra vo byw y * testamentwr.

18 Ac wrth hynn ni ‡ chysegrywdd y cyntaf heb waed.

19 Can ys pan ddarffai i Moyses * draethur gorchymyn y gyd achlan ir holl bobl, ‡ wrth y gyfraith, ef gymerai waed lloiau a' geifr, cyd a gwlan pworpwlac ysop, ac ai taynellei ar y llyfr, a'r bobl oll,

20 Gan ddoydyd, hwn yw gwaed y Testament, rrwn a orchmynnawdd Dyw y chwi.

21 Heb law hynny, taynellu hefyd awnay ef y Tabernacl a holl llestri'r gwasanaeth a gwaed.

22 A' phob peth * gan mwyaf ar ol y gyfraith trwy waed y purir hvvynt, ac heb ollwng gwaed nid oes maddeuant.

23 Am hynny angenrreidiol ydoedd y ‡ dortreiadau y pethau sy yn y nefoed gael y puro ar pethau hyn: y pethau nefawl y hunain a burit ac aberthay gwell

*ddifagul
‡ fargylwed

*Yr Epistol ar ddie merchur cyn y Pasc.*

*bot
‡ yr hwn a wnaeth y testament
y cymunwr
*cymunwr
‡ ordiniwyt
*lafaru, ddywedyd, adrodd
‡ yn ol y gyfraith

‡ rhayach

*cyffelypiaethen

gwell nor rrain.

24 Can ys nid ir cyssegrfa o waith llaw ir aeth Christ y mewn, rrwn sydd *portreiad ir gwir cysse-gr: eithr ef aeth ir nefoedd y ymddangos yn awr yn golwc Dyw trosom ni,

*gyffelypyb-aeth

25 Ac nid yw offrymu y hun yn fynych, mal y may yr archeffeiriad yn myned y mewn ir cyssegrfa bob blwyddyn a chantho waed ‡dierth,

‡arall

26 (Oblegid velly y biase raid iddo ddiodde yn fynych o ddechreuad y byd) eythr yn awr vnwaith yn diwedd *y byd ir ymddangos ‡es ef y ddiflannu pechod trwy y aberthu y hunan.

*yr oesoedd
‡wyd

27 Ac megis ac y gosoded hyn y ddynion farw vn-waith, ac yn ol hynny bot barn,

*ddileu, doddi

28 Velly Christ hefyd a aberthwyd vnwaith y doddi pechodau llawer, yr ail waith heb ddim pe-chod ir ymddengis ef ir rrai sy yn y ddisgwyl, ir ie-chaid yddynt.

## Pen. x.

1 Nyd oedd ir hen Ddeddyf ddim meddiant i *garthu pechot 10 Eithr Christ ei gwnaeth gā aberthu ei gorph vnwaith dros y cwbl. 22 Eiriol ar dderbyn daioni Dyw yn ddiolch-gar gan ddyoddefgarwch a' ffydd 'ofstatol.

*'lanhau

OBlegid y gyfraith rron y may kenthi gyscawd y pethay da a ddaw rrag llaw, ac nid *gwir-ddelw y pethau, ni dichin byth ‡deilyngu y debodiaid drwy yr vnrryw aberthay hyny, rrain

*Yr Epistol ar ddic gwener y y croclith.*

*Gr. eicon
‡'lanhau

y byddant o flwyddyn bigilid yn ystig yn y offrymu.
2 Pe na bai felly oni pheidiesent wy ac offrymu, am na biase yn awr ddim cydwybod pechod o *tra y rrai a offrymasent, ac a buresid hwynt vnwaith:
3 Eithr yn yr aberthe rreini y bydd bob blwyddyn adcoffa pechodau:

‡ddeley, doddi

4 Canys ni ddichin gwaed teirw a' geifr ‡dynnu ymaith pechodau.

*yr ordeiniaist vi

5 O achos paham ac ef yn dyvod ir byd, y dowaid, Aberth ac offrwm nis mynaist: eythyr corph *a baratoisti y mysi.
6 Aberthau poethion ac aberth tros bechawd, ni bu gymeradwy cenyt.

‡pechreu

7 Yno y doydais, Wele fi yn dyvot, (y may yn escrifennedig ym ‡ pen cyntaf yr llyfr am danaf) y gwnaf dy wollys di, Ddyw.
8 Wedi ydvo ddoydyt vchod, Aberth ac offrwm, a phoeth-aberthau, ac offrwmau tros pechawd nis mynaist, ac nis derbyniaist, (rrain a offrymmir wrth y gyfraith).

*dodi heibio
‡yr ail

9 Yno y dywod ef, Wele fi yn dyvod y wneuthyr dy wollys di, Ddyw, may y yn *tynnu ymaith yr cynta, ir mwyn gosod ‡y diwaytha.

‡aberthiat

10 Drwy yr hwn wollys, y ddydym wedi yn santeidio, ys trwy ‡offrymiat Corff Jesu Christ a vvnaed vnwaith.

*Gr. leiturgoon
‡offrymeu

11 Ac hyny pob effeiriad fy yn sefyll gar bron beunydd * yn cyflownir-crefydd, ac yn offrymmu yn fynych yr vn ‡ aberthau, rrain ni ddichin fyth dynnu ymaith pechodau:
12 Eithr hwn yma gwedi darfod, ydo vnwaith offrymmu

fcrynnu aberth tros pechodau, yn dragwyddol sy yn eistedd ar y llaw ddeau i Ddyw,

13 Gan aros yr hyn sy yn ol, 'sef hyd oni bo y elynion ef wedi y gwneithur yn faingc y draed ef.

14 Can ys ac ‡ vn offrwm y perffeithiodd ef yn dragwyddol y rrai sy wedi y santeiddio.

‡ vnic

15 Testlaythy yn wir a wna yr yspryd glan y ni hefyd: can ys ar ol iddo ef ddoyded ymlaenllaw,

16 Hwn yw'r * Testament rrwn a ammodaf i ac wynt ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd, Mysi a'osodaf fy ngyfreithiau yn eu calonau, ac ay escrifena yn y eu meddiliau.

* Dygymbot. Ambot

17 Ac y pechodau ay enwiredd hwynt nid atcoffaa mwy,

18 Velly lle bo maddeuant y rrain, ni bydd mwy offrwm tros pechawd.

19 Am hyn brodyr, can fod y ni rydit y fyned y mewn yr cyssegr drwy waed Iesu

20 Rhyd y ffordd a gysegrodd ef yni yn newydd ac yn fyw, trwy'r llenn sef yw trwy y gnawd ef:

21 A chan vod yni * archoffeiriat, yn rreoli ty Ddyw,

* offeiriat mawr

22 Nesawn a chalon gowir a sicerwydd ffydd, wedi puro yn caloneu oddiwrth cydwybod drwg, a golchi ein corff a dwr glan.

23 Cadwn ‡ gyffes ein gobaith, yn ddianwadal (can ys ffyddlon yw'r hwn a addawodd)

‡ bro.

24 A'chydystyriwn bawb y gilidd, herwydd annoc cariad, a' gweithredoedd da,

25 Ac na wrthodwn eyn cydgy* nulleidfa, megis y may arfer rrai: eithr ym gynghorwn, a hynny yn fwy, o aros ych bod yn gweled y dydd yn nesau,

* deithas

26 Cans

26 Canys os yn wollyscar y pechwn i ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, ni does mwy aberth wedi y adel tros bechode,

*arrwydus ofnus ‡beidrwydd, digllon *ddaw

27 Eithr *horribil ddiscwyl barn, a' than‡ drud, yr hwn * a bydd y ysu'r gwrthnebwyr.

28 Yr hwn a dorho cyfraith Moyses yn ddidrugaredd tann ddau, neu dri o dystion y gorfydd ydd o farw.

‡dyfing *sancteiddiwyt ‡dychano

29 Pa faint dybygwchi mwy dialedd y bernir hwnw a ‡sather tan draed fab Dyw, ac a farno yn anlan waed y Testament, trwyr hwn y * teilyngwyd ef, ac á ‡dremygo Yspryt y gras:

30 Can ys ni adwynom y neb a ddywedodd, Myfi pieu dialedd: myfi a dal y pwyth, medd yr Arglwydd. A' thrachefn, Yr Arglwydd a farna eu bobl.

*arswydus ‡yn llaw

31 Peth *ofnus yw cwympo ‡ y law Dyw byw.

32 Gelwch bellach ich kof y dyddiau aeth heibiaw yn yr rain, wedi ywch dderbyn goleuni y goddefasoch drwydr mawr ac adfydau,

*bysdrych, ‡dugelrres]

33 Tra dygid chwi allan weithiau trwy wradwyddeu a gorthrymdereu, y fod yn * ddrychiolech, weithiau yn wir tra wnelid chwi yn gymedeithion ir rrai a fyddynt yn ymdrino sut hwnw.

34 Can ys am fy rrwymau y roeddych yn cydolurio a mi, ac a gymerasoch yn llawen yspeilfa ych da, megis rrai a wyddau fod ywch ynoch ychun golud gwell, sy yn y nefoedd, ac yn parhau.

*ymddiriet

35 Am hynny na fwriwch y ffordd ych * hyder sy fawr eu gobrwy.

36 Can ys rraid ydyw y chwi wrth ymynedd, mal y galloch wedy darffo ywch wneuthyr wollys Dyw,

Dyw, dderbyn yr addewid.

37 O blegid etto ychydigyn bychan bach, ac fo ddaw yr hwn sy yn dyvod, ac ni thric.

38 Sef y kyfion trwy ffydd y bydd byw, eithr o chilia neb, yr enaid mau-vi ni bydd bodlon iddo.

39 Eithr ni dydym ni rrai sy yn ‡ cilio y golledigaeth, namyn sy yn credu hervvydd cadwadigaeth yr enaid.

*lled-tynu

## Pen. xj.

1 Pa yw ffyd, a'i chanmolieth yr vnrylw. 9 Eb ffyd ny allwn ni rengu bodd Dyw. 16 Dwys gredíniaeth y taten yn y cynvyt.

Ffydd yn wir, yw * ffyrfder y pethau a obeithir, ac egluriat ar y pethau nis gwelir.

*Gr. hypostasis, ousia gosail, dyychiat, hanvot

2 O blegid trwyddi hi yr enillason yr henafiaid air da.

3 Wrth ffydd y ddym yn dyall wneuthyr y byd trwy'air Dyw, ac nid o ddim ar oedd yn ymddangos y gwnaythbwyd y pethau y ddym yn y gweled.

4 Drwy ffydd ir offrymmod Abel y Ddyw aberth ‡ dwy no Chayn, trwy'r hon yr enillodd dyst y fod yn gyfion, Dyw yn testlauthu am y roddion ef, a'thrwyr ffydd hon wedi marw, y may etto yn ymddiddan.

‡amplach

5 Trwy ffydd y cymerwyt Enoch ymaith, rrag gweled ange: ac ni chad ef: am darfod y Ddyw y gymeryd

gymeryd ef ymaith: eithr cyn y gymeryd ef ymaith, ef a gowser gair, y fod yn bodloni Dyw.

6 Eithr heb ffydd ni ellir y fodloni ef: o blegid rre du sydd rraid ir neb a ddel at Ddyw, y fod ef, ay fod yn' obrwywr irrai a ymgais ac ef.

7 Noe wedi y Ddyw y rebuddio am y pethau nis gwelsid etto, yn llawn o *referens, a ddarparhaodd long y achub eu deulu, trwy'r hon long y barnodd ef ar y byd, ac a wnaythbwyd yn ytifedd ir cyfiawnder sy o ffydd.

*barch

8 Drwy ffydd gwedi galw Abraham, yr vfyddhaodd y Ddyvv, y fyned ir man, a gay ef ryw amser yn tretad, ac ayth y ffordd, heb wybod y ble y roedd yn myned.

‡ydd elet

9 Trwy ffydd yr arosawdd ef yn tir yr addewid, megis yn lle dierth, ac y trigodd mewn lluestai gidag Isaac ac Iaco, cydytifeddion yr vn rryw addewid.

10 Can ys discwyl y rydoedd am dinas ac iddi sail, Saer ac edyladwr yr hon, yvv Dyw.

11 Trwy ffydd Sara hithau a dderbyniodd nerth y ymddwyn had, ac a hiliodd wedi amser oedran, am y bod hi yn barnu yn ffyddlō yr hwn a addwsay.

12 Ac herwydd hynny o vn a hwnw yn awr wedi marweiddio y ganed epil, cynniuer a ser yr wybr mewn rrifedi, ac megis y tywot aneirif ar 'lann y mor.

13 Mewn ffydd y bu farw y rrain oll, heb derbyn yr addaweidion. eithr o bell y gweled hwynt, ai credu, ay cymeryd hwynt yn ddiolchys, a chyfaddef y bod yn bererinion ac yn ddieithred ar y dayar.

14 Can ys

14 Can ys y rai'sy yn doydyt hyn, ysbys yw y bod hwynt yn keisio gwlad.

15 Pe biasentwy hyddylgat am vvlad y doythant y maes o hani, hwynt a gowson * amser y ddymchwelyd. *hamdden

16 Eithyr yn awr gvvlad'sy well y maynt wy yn y chwenychu, sef yw nefawl: achos pam nid quilid can Ddyw y hun y alw y Dyw hwyntwy, o blegid paratoi a wnaeth ef ddinas yddynt.

17 Trwy ffydd yr offrymodd Abraham Isaac, pan fu brawf arno, ay un mab a offrymodd yr hwn a dderbyniase yr addaweidion.

18 (With yr hwn y doydesid, Yn Isaac y gelwir y ti ‡ had) ‡hil, epil

19 Ystyrio a wnaeth ef y galle Ddyw y gyfodi ef o feirw: or lle y derbyniawdd e fe hefyt ar ryw gyffelybrwydd.

20 Trwy ffydd y bendithiawdd Isaac ei vap Iaco ac Esau, am y pethe a ddele rrag llaw.

21 Trwy ffydd pan oedd Iaco yn marw, y * rroes fendith y bob un o veibiō Ioseph, ac ai bvvys ar ben eu ffon, yr addolawdd ef Ddyvv. *bendithiodd

22 Trwy ffydd pan oedd Ioseph yn marw, y coffaodd am ymadawiad plant Israel, ac a roes 'orchymyn am eu escyrn.

23 Trwy ffydd pan aned Moses, y cuddiwyd ef dri mis can eu rieni, achos y bod yn y weled yn fachgen tlws, ac nid ofnesont orchymyn y brenin.

24 Trwy ffydd Moses gwedi mynd yn ‡ fawr, a wrthodes y alw yn vab merch Pharao, ‡Gr. megas

25 Yn ddewisach cantho 'oddef adfyd gid a phobl Ddyw.

Dduw, no chael *mwyniant pechawd tros amser,
26 yn barnu yn fwy golud dirmig Christ no thry-
sawr yr Aifftwyr: can ys edrych y ddoedd ef ar
taledigaeth y gobrwy.
27 Trwy ffydd y gadewis ef yr Aifft, heb ofni
ffrowder y brenin: cyfryw ydoedd y emynedd ef,
a phe biase ef yn gweled y neb sydd anweledig.
28 Trwy ffydd y gwnaeth ef y pasc, a gollyngiad
y gwaed, rrac ir hwn ydoedd yn dianyddu y ge-
nedigon cynta, gyffwrdd ac wynt.
29 Trwy ffydd yr aythont trwyr mor coch me-
gis trwyr tir sych, rrwn pan brobasont yr Aifftied
wneuthr, bodi a wnaythont.
30 Trwy ffyd y cwympasont cayrav Jericho wedi
y compasu hyd saith diwrnodd.
31 Trwy ffydd ni *ddihenyddwyd Rahab y puttain
gidar rrai ni buon vfydd, pan dderbyniodd hi yr
espiwyr yn heddychol.
32 A pheth mwy a ddoydaf? can ys yr amser a
ddyffygiay y mi y fenegi am Gedeon, am Barac
a' Samson, a' Jephte, am dafydd hefyd, a' Sa-
muel, ar prophwydi:
33 Rrain trwy ffydd a orescynasont tyrnasoedd, a
wnaythant gyfiawnder, a freiniasont yr adewe-
dion, a stopiason fafnay'r llewod,
34 A ddiffoddason ‡angerth y tan, a ddianghason
rrac min y cleddyf, o wendid a ymnerthasawnt, ac
aython yn ddewrion yn y frwydr, ag a ddymchwe-
lasont ar gil byddinay yr estronion.
35 Gwragedd a dderbyniasont eu meirw gwedi
eu codi yn fyw eilwaith: eraill a dirdynnwyd, heb
bynnu

Marginal notes:
*hyfrydwch
*chollwyt, ddarfu am
‡nerth

ynttu ei ymwared, fal y gallentwy gael ailgyfo-
diat a fai well,

36 Ac eraill a gaynt y profi trwy watwaray ac
yscyrsiau, ie trwy rwymay a' charchary.

37 y llabuddio a gowson, y * dryllio a wnaed, y
tentio a wnaed, o angayr cleddef y buon feirw,
crwydro y buon mewn crwyn defaid a geifr, yn
ddiddym, a chael gorthrymder, a ‡ bod yn ddrwc
wrthynt:

*trychu

‡Gr. caco-
chumenoi

38 Rrain ni hayder byd eu cael: crwydro yr oedent
yn y diffaythay ac yn y mynyddoedd, mewn * tyllay,
a gogofydd y ddayar.

*ffaycu

39 Ar rrain y gyd oll wedi hendddu testiolaeth trwy
ffydd, ni ‡ freiniasont yr addewid,

‡dderbyn[ia]sont

40 Dyw yn rragweled peth gwell am danomi,
fal na theilyngid hwynt heibom ninay.

# Pen. xij.

Annogeth y vot yn ddyoddefus ac yn ddianwadal mewn trwbl ac advyt, ar obaith cael gwobr tragybythawl. 25 * Cymendawt y Testament newydd uchlaw yr hen.

*Canmo-
lieth

OBlegid hynny, ninay hefyd can fod kimaint kwmwl testion wedi yn amgylchu ni, bwriwn heibio bob trymfaych, ar pechawd sy' barawd i hyny yn amgylch: rredwn yn' oddefus yr yrfa a osoded y ni

2 Gan edrych ar Jesu * pen twysog a gorphenwr yn ffyd ni, rwn ‡ yn lle llywenydd

*Gr. arch-
‡gan, o
blete

a osodid yddo, a ddioddefodd y*groes, ‡heb prisio ar y dirmig, ac a eisteddawdd ar y llaw ddeau y eisteddfa Dyw.

3 Ystyriwch am hynny pwy ydiw r* neb a ddiodefawdd gyfriw ddoydet yn eu erbyn can pechaduriaid, rrag ych blino wedi deffygio yn ych meddyliay:

4 Ni wrthladdosochi etto hyd at waed, yn‡ymryson yn erbyn pechawd.

5 A gollwngesoch tros co y * cyngor, y sy yn y ddoyded wrthych megis wrth plant, Vy mab, nac eskulusa cospedigaeth yr Arglwydd, ac na‡lapsa pan gerydder di gantho.

6 Can ys *y neb a garo yr arglwydd, efay cospa: ac a skwrsio a wna ef pop map a dderbynio.

7 Os goddefwchi gospedigaeth, megis y feibion y may Dyw yn ymgynig ywch: can ys pa fab‡sy nas cospo eu dad ef?

8 Eithr os heb gospedigaeth yddych, or * hon y may pawb yn gyfrannog, gan hynny meibion ‡ aill yddych ac nid meibion o briod.

9 Heb law hynny tadau yn kyrff ni, cael a wnethom yn cospi canthynt wy, ay perchy a wnaythom: onid mwy o lawer y may y ni ymostwng i dad yr yspryday, a chael byw?

10 Can ys hwynt wy yn wir tros ychydig ddydiau an cospay ni val y bay dda canthynt: eithr ‡ hwn an copai ir lles y ni, ir mwyn y ni cael cyfran oy santeidrwydd ef.

11 Nid chwaith hyfrydwch y gedir pob rryw cospedigaeth tros *yr amser cydrychol, eithr anhyfrydwch:

*groe
‡a ddirmygodd y cywilydd
*hwn
‡ymdrech, ymwan
*dyhuddiat
‡ddeffygia, ymellwng
*yr hwn
‡yw
*hyn
‡o ordderch, llwyn a' pherth, bastardieit
*efe
tospai
‡cynnyrch, cydrycholdep

fydwch: etto wedi hynny, heddychol ffrwyth cyfiownder a ddyry, ir rai a font yn arferol a hi.

12 Or achos pam derchefwch eich dwylaw ys wedy llaysu, ar gliniay gwenion.

13 A gwnewch lwybray vnion ich traed, rrac myned yr hyn sy glof, odiar y ffordd, namyn yn hytrach iachaer ef.

14 * Dilydwch heddwch gyd a phawb, a'santeiddrwydd, heb yr hwn ni wyl neb yr Arglwydd.

15 Disgwiliwch, rrag dessygio o neb oddiwrth gras Dyw: rrac ‡ brnguro o ryw wreiddin chwerwder y beri aflonyddwch yvvch, a' thrwy hwnnw * llygru llawer.

16 Na fid vn putteiniwr, neu ‡ aflan megis Esau, rrwn am ddryll o fwyd a werthodd fraint eu enedigaeth.

17 Canys chwi a wyddoch mal wedi hynny hefyd pan fynase ef gael y fendith trwy dretadawl gyfraith, y gwrthodwyd ef: o blegid ni chafos ef gyfle y edifeirwch, ir y fod trwy * ddagre yn keisio yr fendith hono.

18 O blegid nid at y mynydd teimledig, y nesaysoch, ar tan poeth, ar cwmwl ar tywolliwg, ar dymestl,

19 ‡ A' sain y corn, a' llef y geiriau, rrhon yr rai ay clowsant, a ymyscusodasont, ir mwyn na ddoydid y gair wrthyntwy mwy.

20 (O blegid ni ellyntwy odde yr hyn y roiddid yn y orchymyn, perron y'nifail a chyffwrdd ar mynydd, y labydio a wneir, neu y frathu trwydo a gwayw:

21 Ac mor aruthr ydoedd y golwg oedd yn ymdangos, ac

* Dilynwch, canlynwch
‡ bla
* halogi
‡ aflan
* ddaigre
‡ Na

gos, ac y dybod Moses, y ddwy yn ofni ac yn crynnu.)

22 Eithyr nesau a wnaythoch at fynydd Syon, a dinas y Dyw byw, Caerselem nefawl, a chwmpeini * milfrydd o angylion,

23 A' chynilleidfa y blaen anedigolion, rrain a yscrifenwyd yn y nefoedd, a Dyw browdwr ‡ pob peth, ac yspryday yr rrai cyfion perffeith,

24 Ac at Iesu cyfrwngwr y Testament newydd, ac at waed y taynelliad, sy yn doydyt pethau gwell * no gvvaed Abel.

25 Edrychwch na ddiskenlusoch ‡ y neb sy yn doydyt: o blegid os hwyntwy ni ddianghasant rrain a ymwrthwynebasant ef, y doedd yn doydyt ar y ddayar: mwya oll nas diangvvn ni, os * gwrthnebwn ‡ y neb sydd yn doydyd or nefoedd.

26 Llef yr hwn a yscydwodd y ddayar, yn awr hagen rrybuddio a wnaeth, gan ddoydyt, Etto vnwaith yr yscydwa, nid yn vnig y ddayar, eithyr y nefoedd hevyd.

27 Yr Etto vnwaith hynny, sy yn arwyddocau treiglad y pethau ansafadwy, megis gvvaith llavv val y trico y pethau safadwy,

28 Am hynny gan yn bod ni yn cymered attom teyrnas, ni ellir y scydwyd, ymaylwn yn y gras, drwyr hwn y gallom wasnaethy Dyw, yn y modd ac y bo bodlon cantho, trwy barch ac ofn-crefyddus.

29 O blegid yn Dyw ni ys-tan * tranledig yw.

*myrddion, aneirif

‡pawb, oll

*nog vn

‡yr hwn

*trown ywrth

‡yr hwn

*yn yssa, yn difa

¶Pen.

# Pen. xiij.

1 Y mae ef yn ein annoc i gariat, 2 I gadw tuy ir tlodion, 3 I beddwl am gyfryw rei ac a vont mewn advyt. 4 Ar ddal gyd a phriodas. 5 Ar ymogelyd ywrth cupydot. 7 Ar wneuthur yn vawr o'r ei vo yn precethu gair Dew. 9 Ymogelyd rrac dysceidaeth ddieithr. 13 Bot yn bodlon y dyoddef cerydd y gyd a Christ. 15 Bot yn diolchgar y Ddew, 7 Ac yn uvydd in llywyawdwyr.

CAriad brodurawdd * triged.

2 Na ollyngwch tros gof roddi lletty i ddiethred: can ys trwy hynny ‡ ir erbyniodd rrai yn ddiarwybod Angylion yw tai.

3 Medyliwch am y rrai sy mewn trwymay, val pe baech yn rrwym gidag wynt: ar rai y ddydis yn y drygu, val pe ych drygid ych hunain yn y corph.

4 * Urddasawl yvv priodas ym hob dyn, ar gwely ‡ dilwgr: eithyr y putteinwyr ar ei godinabus Dyw ay barna.

5 Bid digybydd ych ymwrediad, ac ymfodlonwch ac y sydd tan ych llaw, cans ef a ddyvod, ni phallaf y ti, ac nis gadawa di chwaith:

6 Hyd val y gallō dywedyt yn hy, Yr Arglwydd ysy yn gymhorth ym, ac nid ofna beth a wnel dyn ymy.

7 Meddyliwch am ych * preladiaid, rrain a draythason i chwi air Dyw: calynwch y ffydd hwynt, trwy ystyr ‡ pa vn yw diwedd y ymwrediad hwynt.

8 Iesu Christ doy, a heddiw, yr vn hefyt ysydd yn drag-

*parhaed

‡ys

*Anrydeddus

‡dihalog

*arwain, tywys, golygu

‡beth vu

drwgwyddol.

9 Nedwch ych dwyn o amgylch ac amryw, ac a dieithyr ddysceidiaythay: can ys da ydiw cadarnhau yr galon a gras, ac nid a bwydydd, rain ni thyciasont ir rrai a fu yn ymarfer ac wynt.

*y ni

10 May ‡ kenymi allor or hon ni does audurdod yddyntwy y swytta rrai sy yn gwasneuthur yn y Tabernacl.

11 Can ys yr enifeilaid gwaed yr rrain a ddwg yr archeffeiriad ir ‡ santeiddle tros bechod, kyrff y rrain a loskir y tu allan ir llueftai.

‡cyssegr

12 Ac am hynny * ac Jesu, ir yddo santeiddior bobl trwy y waed y hun, or tu allan ir porth y dioddefodd ef.

*ys

13 Am hynny awn atto ef or tu allan ir llueftai, gã ddwyn y ddirmig ef.

14 O blegid ni does i ni yma ddynas a bery, eithr hon a ddaw y ddym yn i cheisio.

15 Offrymmwn o blegid hynny yn estig trwyddo ef y Ddyw aberth moliant, hynny yw, ffrwyth gwefusay, yn cyfaddday y Enw ef.

‡wneuthur dayoni

16 Nedwch tros gof ‡ fod yn gywaithas a chyfrannu: can ys a chyfryw aberthay y * boddheir Dyw.

*rrengir bodd

17 Ufyddhewch ych preladiaid, ac ymddarostyngwch: o blegid gwilio y maent * tros ych eneidiau chwi, megis rrai a fydd rraid uddynt roi kyfri, mal i gallon wneuthyr hynny yn llawen, ac nid yn drist: can ys dibroffid yw hynny i chwi.

*ar

18 Gweddiwch trosom ni: can ys may yn sicer kenym, fod y ni gydwybod dda ym-hob peth, yn

chwe-

chwenychu bydw yn onest.

19 Y ddwy yn disif arnoch wneuthur hynny beth distriach, ir mwyn cael yn ebrwydach fyngollwng attoch.

20 Dyw yr heddwch rrwn a ddug trachefn o ddiwrth y meirw eyn harglwyd Jesu, y bigael mawr y defaid, trwy waed yr Amod tragwyddol,

21 Ach gwnel yn berffaith yn hob gwaithred da, y wneuthyr y wollys ef, drwy weithio ynochi yr hyn a fo cymradwy yn y olug ef trwy Jesu grist, ir hwn y bo gogoniant yn oes oesoedd, Amen.

22 Y Ddwy yn wir yn disif arnoch, ymrodyr, godefwch y gair cyngor, o blegid ac ychydig eiriau ydd yscrifenais attoch.

23 Gwybyddwch fod ein brawd Tymotheus y ollwng yn rrydd, gidar hwn (o daw e ar fyrder) y do y ymweled a chwi.

24 Annerchwch ych preladiaid oll, ar sentiau y gyd. May ‡ gwyr Ital yn erchi ych annerch, ‡yr eior

25 Gras a fo gida chwi oll achlan, Amen:

At yr Ebraiaid yr yscrifenwyd yr ebystl hon or Ital trwy Tymotheus.

Xx.iiij.

# Epistol gyffredinawl Iaco.

## Y destyn.

D.R.D.M.

IAco yr Abostl, a mab y Alpheus a skrifennodd yr epistel honn at yr Iddewon a droysynt at Christ, ac ir hynny oeddynt ar wascar mewn amryw wledydd, ac or achos hynn y cynghori y may y fod yn dda eu ymynedd ac i weddio, y dderbyn gwir 'air Dyw, ac na bont pleidgar, na gwneuthyr bost am ffydd segurllyd, eithr dangos gwir ffydd trwy ffrwythe bywiol i ochelud ymddrychafel, i ffrwyno yr tavawd, i reoli anwyday, i fot yn vfydd ac y garu y cymydogion, i ochelud tyngu, i gyhuddo eu beie pan fyddynt ar gam, i weddio tros y gilidd, ac i ddwyn y neb fay o iar y ffordd y adnebyddieth Christ.

## Pen. j.

2 Kroi kyngor i fod yn llawen mewn blinder, 6 I fod yn ystic mewn gweddi trwy ffydd gadarn, 17 I ddiscwyl am bob dayoni oddifyny. 21 I ymwrthod ac oll gamweddey, ac ac yn ddiolchus derbyn gair Dyw, 22 Nid yn vnig trwy eu wrandaw, neu son am danaw, eithr hebyd bucheddu yn gytun ac ef, 27 Beth yw gwir grefydd.

IAco gwasanaethwr Dyw, ac Arglwydd Iesu Christ, at y deuddec-llwyth gwascaredic, anerch.

*Yr Epistol ar ddydd Philip ac Iaco*

2 Cymerwch yn lle dirfawr lewenydd fym rodyr, pan ddigwyddoch mewn amryw *profedigaythay,

3 Can wybod y pair profedigaeth ych ffydd chwi ymynedd.

4 Eithr ymynedd caffed y berffaith waith, mal y galloch fod yn berffaith ac yn gyfan, heb ddim ‡diffig.

5 O bydd ar neb aysie doythineb, arched can Ddyw, sy yn rroi yn haylionus i bawb, ac nis *gorafun y neb, ac ef ay rroir iddo.

6 Eithyr arched mewn ffydd, heb ammay dim: can ys y neb a amheuo, cyffelib yw i tonn ‡or mor a chwelir ac a deflir can y gwynt.

7 Ac na fyddylied y dyn hwnnw i cayff ddim can yr Arglwydd.

8 Gwr dauddyblyg feddwl, anwadal yw yngwbyl oy ffyrdd.

9 Y brawd a vo o radd gorisel, llawenyched yn ei oruchafiaeth:

10 Ac elchwyl y neb a vo cywaithog, yn eu ostyngedigaeth: can ys megis blodeuyn y llysiewyn, y diflanna.

*dentatione

‡eisieu,

*lliwia, dannot

‡y

11 O blegid mal pan gyvottor haul yn y gwres, y na y gwywa'r llysiewyn, ac i cwympa i blodeuyn, ac a gyll tegwch eu bryd ef: ac velly y diflanna'r cywaithog ynghwbyl oy ffyrdd.

12 Happus yw'r gwr, a ymoddef * profedigaeth: canys pan vo prawedig, i cayff coron y bowyd, ron a addawodd yr Arglwyddir rrai ay caro ef.

13 Na ddoydet neb pan ‡ profer ef, y * brofi can Dyw: canys ni ellir ‡ profi Dyw a drwg, ac nid yw ef yn * profi neb.

14 Eithr pob ryw vn a ‡ brofir, pan y tynner, gan e drachwant yhun, ac y llithir.

15 Ac o ddyna gwedi i trachwant * gydynnyll, ‡ braguro pechod a wna: eithr pechod pan o'rphenner a * ddirollwng varvolaeth.

16 Na ‡ chifeiliorn wch fymrodyr caredigawl.

17 Pob roddiat dayonus, a phob * rrod berffaith, o ddifynydd y may, ac a ddisgin o iwrth tad y goleuaday, gidar hwn ni does trasymedigaeth, na chyscodiad troedigaeth.

18 Oi wir wollys ir enillawdd ef ni trwy air y gwirionedd, mal i gallem bod megis blaenffrwyth y creaduriaid ef.

19 O achos hyn fymrodyr caredigion, bid pob dyn * ebrwydd y wrandaw, diog i ddoyded, a' diog i ddigofaint.

20 Canys digofaint gwr, ni chyflowna gyfiownder Dyw.

21 Am hynny rrowch heibio pob budreddi, a phob ‡ rryssed malais, a' thrwy vfuddtra derbyniwch yr impiedic air, rrwn a dichin ‡ iachau ych eneidiau.

*tentation
‡temter
*temto
‡tento
*tento
‡tentir
*ymdwyn
‡escor ar
*escor ar
‡elwch ar didro, cham ysfyriwch
*dawn
Yr Epistol y iiij. Sul gwedy Pasc.
‡escud
*tra
‡gadw

22 A byddwch wneuthyrwyr y gair, ac nid yn u-gwrandawyr, yn ych twyllaw ych hunain.

23 Can ys o gwrendy neb y gair, ac heb y wneu-thyr, tebig yw hwnw i * wr, a sai yn ‡ synnio eu wyd genedigawl mewn ‡ drych.

24 Can ys y synnio eu hun a wnaeth, a myned y-maith, ac yn y man * ebrefugu pa sut ytoedd.

25 Eithr y neb a edrycho ar honn sy perffaith cy-fraith rydit, ac a erys yntei, can nad ydiw ef wrā-dawr gwallgofus, eithr gweithredwr y weithred, ‡ happus fydd yn eu waithred.

26 O chymer neb yn ych mysc chwi arno y bod yn grefyddawl, ac nid attalio eu dafod, eithyr twyll-aw eu galon eu hun, crefydd hwnvv ys ouer yvv.

27 Crefydd pur a' * difrycheulyd gar bron Dyw, a'r tad, yw hynn, ymweled ar ymddifaid, ar gw-ragedd-gweddwonn yn eu hadfyd, ay ymgadw i hun yn ddifrycheulyd o ddiwrth y byd.

*Yr Epistol y v. Sul gwedy y Pasc.*

*vn ‡edrych *wyneb naturiol ‡gwydr *anghofio ‡ dedwydd, gwynfydic *disagl ‡ys ef

## Pen. ij.

Yma i deirch na bo ystyriaeth persō dyn, 5 Na rragori y cy-waythog mwy nor tlawd, 8 Ac i ddeirch fod yn gredigol ac yn drugar oc, 14 Ac na vostier ffydd lle ni bo gweith-thredoedd, 17 Can ys ffydd farw ydiw yr hen nis calyn gweithredoedd da hi.

VYmrodyr, na fid cenychi ffydd eyn Ar-glwydd ni Iesu Christ gogoneddus ynghyd ac* ystiriaeth personau.

2 O bleit os daw i mewn ich cwmpe-niaeth

*Darllen y decved pen or Actæ

‡Gr. chrysodactylios. aurvodrwy awc

niaeth chwi, gwr yn ‡arwain modrwy aur ac mewn * dillad gwychion, a dyvot gwr tlawd hefyd mewn dillad gwaelion,

‡yr hwn
*gwisc dysclaer

3 Ac ystyriaeth o honoch ar ‡ y neb sy yn arwain dillad gwychion, a doedet wrtho, Eiste di yma mewn lle da, a doydet wrth y tlawd, Sa di yna, neu eistedd yma islaw fy stol droed,

*rragor, gohanieth, amrafael

4 Oni dychi ynoch ych hunain yn gwneuthyr * dosparth, ac aythoch yn brawdwyr brodiau drwg?

5 Gwrandewch fymrodyr credigawl, oni ddewisodd Dyw tlodion y byd hwnn, y vod yn gowaethogion mewn ffydd, ac yn ytyfeddion ir dyrnas rron a addawodd ef ir rrai ay car ef?

*Gr. catadynasteyousyn

6 Eithr i ddychi yn dyrmugu yr tlawd. Onid ydynt y cywaythogion yn * ych gorthrymmu-chwi wrth trowsder] ac anyd ynt wy yn ych tynnu chwi gar bronn y frowdfainc?

*dibenwi
‡prydverth

7 Onid ydynt wy yn * goganu yr Enw ‡rragorawl trwyr hwn ir cyfhenwir chwi?

‡megis

8 Eithr os cyflownwchi y frenhinawl gyfraith, ar ol yr yscrythyr, rron a ddyvvait, Car dy gymydawc ‡yn gymaint a thi dy hun, ys da i gwnewch.

*braint nep
‡argywedir
*rrei yn ei thorri

9 Eithr os ystyriwchi * berson-dyn, y ddych yn gwnethyr pechod, ac ych ‡ yn cael cerydd can y gyfraith, mal * trosedd ion.

‡gyfan, oll

10 Can ys pwy bynac a gatwor gyfraith ‡ y gyd, ac a ballo mewn vn * pvvnc, may ef yn euog or cwbl.

*yr hwn

11 O blegid ‡y neb a dyfod, Ni wnei di godineb, a dyfod hefyd, Ny ledi. Os bydd i ti na wnelych odineb,

eb, ac etto lladd, y dwyt yn *trosseddwr y gyfraith. *dorwr

12 Velly i doydwch, ac velly y gwnewch, megis y rai a fernir ‡ trwy gyfraith y rydit. ‡worth

13 Can ys barn heb drugaredd, a fydd ir neb ni wnel trugaredd, a llawenychu a wna trugaredd yn erbyn barn.

14 Pa les, vymrodyr, o dowaid neb fod cantho fydd, ac eb bot gantho weithredoedd? a ddychon y fydd honno eu iachau ef?

15 Oblegit os bydd brawd neu chwaer yn noeth, ac eisie beunyddawl ymborth,

16 A' doydet o vn o honoch wrthynt, Ewch er nawdd Dyw, ymdwymnwch, ac ymlenwch, acetto heb roddi vddynt angenrreidiaur corph, pa les fydd?

17 Velly ffydd, oni bydd yddei gweithredoedd, marw ydyw ynthi y hun.

18 Eithr rryw vn a ddowaid, Tydi ffydd sy cennyt a minnau gweithredoedd sy cennyf: dangos di i mi dy ffydd wrth dy weithredoedd, a mi a ddangosaf yty ffydd * wrth fyngweithredoedd. *oth

19 Credu i ddwytti may vn Dyw y sydd: da rwyt arno: y ‡ diawlaid hefyd ay credant ac a grynant. ‡ crythrcllcic

20 Eithr a fynnid i wybod, o dydi ofer ddyn, may marw yw'r ffydd sy heb weithredoedd?

21 Onid trwy weithredoedd i cyfiownwyd, Abraham yn tad ni, pan offrymmawdd ef Isaac eu fab ar yr allawr?

22 *Ti a weli fod ffydd yn kydweithio ay weithredoedd ef ‡, a thrwy weithredoedd i perffeithiwyd y ffydd. *Oni ‡?

23 Ac a gyflownwyd yr ysgrythyr rron a ddowaid,

Ef a gredawdd Abraham i Ddyw, ac ay cyfrifed iddo yn lle cyfiawnder: ac ay galwyd yn garedic i Ddyw.

24 Chwi a welwch can hynny, may o weithredoedd y cyfiownir dyn, ac nid o ffydd yn unic.

25 Yr vn ffunyt Raab y puttain onid o weithredoedd i cyfiownwyd hi, pan dderbyniodd hi y cenadau, ay danfon ymaith ffordd arall?

26 Can ys megis y may'r corph heb yr yspryd yn farw: felly ffydd ys y heb weithredoedd marw ydyw.

## ¶ Pen. iij.

2 Gwarð y may racymgymryd, a chwenychu anrrydedd tu hwnt eyn brodyr. 3 Ysgythru y may kenedðe'r tafawd, 15. 16 A' pha wahan sy rrwng doythineb Dyw, a doythineb y byd.

NA cheisiwch fod yn feistred lawer, fymrodyr, gan wybod y cawn i farnedigaeth glettach.

2 Can ys mewn llawer o bethay y ddym ni pawb yn * llithro. O byð y neb na lithro ar air, hwnw sy wr perffaith, ac a ddichin ffrwyno'r holl corph.

*cwympo, pechu

3 Nycha, y ddym yn dodi ffrwynay ymhennau ‡ meirch yw gwneuthyr yn vfydd i ni, ac y ddym yn troi ey cyrff hwynt oddiamgylch.

‡Wele ‡safneu

4 Nycha hefyd y llongay, train cyd bont * mowrion,

*cymmeint

rion, a gwynt creulawn yw gyrru, etto i troi hwynt o amgylch a wneir a llyw bychan bach, lle i mynnor * llowydd.

*llywiwr

5 Felly y tavawd hefyd aylod bychan yw, yn bostio pethay mawrion, nycha faint ‡ o ddeunydd a ennynna y chydic dan.

‡y peth

6 A'r tavawd tan ydyw, ie byd o enwiredd: velly i gosodet y tavawd y mysc ein aylodau, mal * y llygra ef yr holl corph, yn fflamhau ‡ troell natur- ieth, ac yn fflamedic can uffern.

*yr haloga, diwyna
‡rrot, rrediat

7 Cans * holl natur ynifeiliaid, ac adar, ac ymlusciaid, a'r petheu yn y mor a ddofir ac a ddofwyd can natur ddyniol.

*pop

8 Y tavawd hagen nis dichin neb rryw ddyn y ddofi. Drwg anllywodraythus ydyw, yn llawn gwenwyn marwol.

9 Trwyddo ef i bendi*gwn ni Dduw ‡ a'r tad, a' thrwyddo ef i melltigwn ni ddynion, y a wnaethwyd ar lun Duw.

*chilon
‡sef

10 Or un genau i daw allan bendith a melltith: fymrodyr, ni ddylaynt y pethay hyn fod velly.

11 A dyry ffynnon or un man ddvvr melus, a' chwerw?

12 A ddichin y pren ffeigys, fymrodyr, ddwyn * olivaid, neu winwydden ffeigys? velly ni ddichon un ffynnon ‡ roddi dwr hallt a'* chroyw.

*oleu ffrwyth, aeron olewwydd
‡wneuthur
*melus

13 Pwy sy wr doeth a gwybodaeth cantho yn ych mysc chwi? dangosed trwy ymwerreddiad da eu weithredoedd mewn rrowiogrwydd doythineb.

14 Eithr o bydd cenychi cenfigen chwerw ac ymryson yn ych calonay, nac ymlawenhewch, ac na

fyddwch

sydd wch celwydd og yn erbyn y gwirionedd.

‡ dieslic, cythreulic

15 Y doythineb hyn nid oddi fynydd y discin, eithr dayarawl yvv, enifeilaidd, a' ‡ diawlaidd.

* mae

16 Can ys lle * bo censigen ac ymryson, yno y bydd terbysc, a' phob gweithred ddrwc.

‡ yno

* drawsbarnu

‡ hypocrisi

* y gan

17 Eithr y doythineb y sydd o ddifynydd, yn gyntaf pur ydyw, ‡ wedi hynny heddychol, bonheddigaidd, hawdd y thrino, llawn trugaredd a' ffrwythydd da * yn ddiddosparth, ac yn ‡ ddiffuant.

18 A ffrwyth cyfiownder a heir mewn heddwch, * ir rrai heddychawl.

## Pen. iiij.

1 Gwedi iddo ddangos achos pob anghyfiownder, ac enwireu a hefyd achos pob gras a ddayoni, 4 Y cyngborr y may y garu Dyw, 7 Ac y ymroi iddo ef, 11 Ac nas adroddasent ddrwc am y cymedogion, 13 Eithr yn ddiodde fus ymrddiriaid y ymgeledd Dyw.

* ymladd

OBle y may y rryfeloedd a'r ymladdau yn ych plith chwi: onid oddiwrth hynn, sef ych trachwantau, rrai ynt yn * ymwan yn ych aylodau:

2 Chwennychu yddych, ac heb caffael: cenftgenu yddych, ac eiddigedd sy cenych, ac heb allu ymorddiwes: ymladd a' rryvela y ddych, heb gael dim, am nad ydych yn gofyn.

3 Gofyn y ddych, ac ni dych yn derbyn herwydd ych

ychbod yn gofyn ar gam, fal y gallech eu dreulio ar ych trachwantay.

4 Chwi odinebwyr a' godinebwragedd, oni wyddochi fod cariad y byd yn elyniaeth can Ddyw? Am hynny pwy bynac a fynno fod yn car ir byd, y may yn ymwneuthyr yn elyn i Ddyw.

5 Ydychi yn tybiaid fod yr ysgrythyr yn doydyt yn ofer, yr yspryd syn yn trigo ynomi ni, at genvigen y may ei chwant?

*ar, am

6 Eithr y may yr Scrythur yn cynnyc mwy o ras, ac am hynny yn doydyt, Dyw sy yn gwrthnebu balch, ac yn rroi gras ir ei ufydd.

7 Ymostyngwch am hyny y Ddyw: gwrthnebwch ddiawl, ac ef a * gilia o ddiwrthych.

*ffy

8 Nessewch at Ddyw, ac ef a nessaa attoch. Glanhewch ych dwylo, chwi pechaduriaid, a' phurwch ych calonay, chwi ‡ ar meddwl dau ddyblig.

‡anwadal

9 * Ymgospwch, ‡ ac alerwch, ac wylwch: * bid ywch troi ych chwerthin yn alar, ach llywenydd yn dristwch.

*Goddefwch-gystudd, a' doluriwch

‡ymchweler, troer

10 Ymddarostyngwch gar bronn yr Arglwydd, ac efe ach cyfyd y fyny.

11 Na ddoydwch * yn erbyn y gilidd, frymrodyr. Y neb a ddyweto yn erbyn i frawd, ‡ ac hwn a farno eu frawd, y may yn doydyt yn erbyn y gyfraith, ac yn * barnur gyfraith: ac os wytti yn barnur gyfraith, nid y dwytti yn gyflownwr cyfraith, namyn brownwr.

*ddrwc am

‡neu

*dannio

*barnwr

12 Un gosodwr cyfraith y sydd, rrwn a ddichin gadw, a cholli. Pwy ydwytti rrwn a ferni ar arall?

13 ‡ Iddo 'nawr yr rai a ddoydwch, Heddiw neu fo

‡Wely yr owrhon

ry ni awn i gyfryw ddinas, ac a arroswn yno flwyddyn, ac a farchnattawn, ac a ynnillwn,

14 (Krain ni wyddoch beth a fydd y bore. Cans beth ydiw ych enioes chwi? Tarth yn wir ydyw yrwn a ymddengys *ychydig amser, a chwedi hyny a ddiflanna)

15 Yn lle hynn a ddylech y dywedet, Os yr Arglwydd a ‡ mynn, ac os byddwn byw, ni a wnawn hyn, neu hynny.

16 Eithr chwi yn awr ‡ ymrysygu y ddych, yn ych *gwaetfost: pob cyfryw ysig drwg yw.

17 Am hynny, y neb a wyr wneuthyr yn dda, ac nis gwnel, mewn pechod y may.

*enhyd bach

‡ wyllysia

‡ymhoffi

*sirost

## Pen. V.

2 Bygwth y may ef y cywaythogion enwir, 7 Cynghori ymynedd, 12 Ac y ochelyd tyngu: 16 Bot ydoynt gyfadef en beie yw gylydd. 20 A cheisio dwyn y gilydd ir gwirionedd.

IDdo 'nawr, chwi gywaethogion: wylwch, ac udwch am ych trueni a ddel arnoch.

2 Ych cowaeth chvvi llygru a wnaeth: a'ch gwiscoedd bwyd pryfed ydynt.

3 Ych aur ach arian a rydodd, ay rwd hwynt a fydd tyst yn ych erbyn, ac a ysa ych cnawd mal tan. *Casclu trysawr a wnaythoch ‡ tros y dyddiau diwaytha.

*Tresori

‡ ir

4 Wele

4 Wele, cyflog y gweithwyr, rrain a fedasont ych meysyd (rrwn a attaliasoch trwy dwyll) sy yn ceio a *bloyddiay y rrai a fedassont, a entriassont y glustiau Arglwydd y ‡ byddinoedd.

5 Byw ar ddayntethion y buoch ar y ddayar, ac mewn trythyllwch. Meithrin ych calonay a wnay thoch, megis ac yn y dydd lladdedigaeth.

6 *Euocau a wnaythoch a'lladd y cyfion, rrvvn nis gwrthnebodd chwi.

7 Am hynny, vymrodyr, byddwch ymarhoys, hyd dyfodiad yr Arglwydd. ‡ Synna, y llafurwr a ddisgwyl am wyrthfawr ffrwyth y ddayar, yn dda eu ymynedd amdano, hyd caffel o hono y glaw *cynnar, ar diweddar.

8 Oblegid hynny byddwchithay hefyd dda ych ymynedd, a chadarnhewch ych calonay, canys y may dyfodiad yr Arglwydd yn nesau.

9 Na wnewch ddim ‡ tuchan yn erbyn y gilidd, fymrodyr, * val na bo barn arnoch: wele, may'r brawdwr yn sefyll wrth y drws.

10 Cymerwch, fymrodyr, yn siampl am oddeu blinder, ac am hir ymynedd, y proffwydi rrain a fuont yn ‡ doyded yn Enw'r Arglwydd.

11 Wele, dedwyddd y ddym yn gadel y rrai a ymoddefant. Chwi a glowsoch am ymynedd Job, ac a *welsoch y diwedd a vvnaeth yr Arglwydd. Oblegit trathosturiol yw'r Arglwydd a' thrugaroc.

12 Eithr ymlaen pob peth, fymrodyr, na thyngwch, nac ir nef, nac ir ddayar, na llw arall amgen: eithyr bid ych ief, yn ief, ach nac ef, yn nac ef, rrac syrthio o honoch, *mewn barn.

*chri
‡lluoedd
*Damno
‡Wele
*bore, a' hwyr, cyntaf a dywethaf,
‡rwgnach,
*rrac eich damno
‡ymddidā, parablu
*wybuoch
*Gr. eis *hypocrisin*

13 Oes neb yn ych plith mewn adfyd? gweddied. Oes neb *yn esmwyth arno? canet.

14 Oes neb yn ych plith yn glaf? Galwed am *Henaduriaid yr eglwys, a gweddiant wy trosto, ac ‡ eliant ef ac olew yn Enw'r Arglwydd.

15 A gweddi'r ffydd a iachaa'r claf, a'r Arglwydd ay cyfyd ef y fynydd: ac o gwnaeth ef pechoday, hwynt a vaddeuir iddo.

16 Cyfaddefwch ych beie *y naill ir llall, a gweddiwch tros y gilidd, y gael ych iachau: can ys llawer a dal gweddi'r cyfion, pan vo ‡ ffrwythlon.

17 Elias dyn ydoedd o'r *vn sut a ninay, ac yn eu weddi ydd archodd na bai glaw, ac ni ‡ bu glaw tair blynedd, a' chwech mis.

18 Ac ef a weddiawdd drachefn, ac a roddes y nef y glaw, ac a ddug y ddayar eu ffrwyth.

19 Vymrodyr, o daeth neb o honoch ar *gyfeiliorn oddiwrth y gwirionedd, a throi o ryw vn ef,

20 Gwybyded ef am y neb a droes y pechadur trac mynd ar gyfeiliorn o ddiar y ffordd, y bod ef yn ‡ iachau enaid trac angay, ac yn kyscodi *lliaws grvvydd o pechodau.

*wrth ei vodd
*Presbyteros
‡enneintiant, angenant
*Gr. allelus yw gylydd
‡grymus; gadarn
*gyflwr
‡lawiodd hi
*ddidro
‡iachau, achup
*llaweredd

# Yr Epistol cyntaf cyffredinawl i Petr Apostol.

## YR ARGVMENT.

ANnoc y ffyddlonieit mae ef y ymwadu a hwy hunain, a'diystyru'r byd, val gwedy y rhyddheit hwy ywrth oll wynnieu cnawdawl a'chwystron, y gallont yn chwyddach gaffael dyvot y deyrnas Christ, ir hon in galwyt gan rat Dew, y ddatguddiwyt y ni yn y Map ef, ac ei derbyniesam eisus wrth ffydd, ei * meddiannasam trwy'obaith, ac in cadarnhawyt ynthei trwy santeiddrwydd ‡ bywyt. Ac er mwyn na lescao y ffyd hon wrth weled Christ wedy ei dremygu ac ar wrthodd gan yr oll byd hayachen, dangos y may ef nad yw hyn amgen cyflawny yr Scrythurae yr ei a destiant y byddei ef yn vaen tramcwydd ir ei cwlieddic, a'diogel sail iechydwrieth ir ffyddlonieit: am hyny y mae ef yn y hannoc hwy y bynd rhaccdyn yn * wychr, gan ystyried pa rei oeddent, ac y ba deilyngdawt y galwodd Dew hwy. Gwedy hyny, y mae ef yn traythu pethen gohanrhedawl, gan ddyscu datlieit p'odd yr vbyddhant yw llywiawdwyr, a'gwasanaeth-ddynion ei perchen, a' pha'wedd y ‡ dirper ir ei gwedy eu priodi ymddwyn. Ac achos darbot ordino i bawp ys ydd yn dduwiol, y ddyoddef cael eu hymlid, y mae ef yn dangos yddynt ddaed y dyben vydd yw gorthrymdere, ac yn wrthwynep i hyny pa poenae'sy wedy ei ddarparu gan Ddyw ir ei andywiol. Yn dywethaf oll y mae ef yn dyscu yddynt p'wedd y dylei y gweinidogion-ecclesic ymddwyn, gan eu gohardd y arfer trawys awturtot ar yr Ecclesi: hefyt bot yn iawn i wyr ieuainc bot yn gymmesurol, ac yn addas y ddyscu, ac velly y cerbyna gan eu cygori.

* gorescynesam

‡ buchedd

* gyssurus

‡ dyly

## Pen. j.

2 Dangos ymae ef may trwy ampl drugaredd Dew in ddetholwyt ac in adgenedlwyt i'obaith bywiol, 7 A'r modd y treiir ffydd, 10 Nad yw yr iechydwrieth yn-Christ beth newydd, eithyr peth wedy ei brophwyto gynt. 13 Ymae ef yn y hannoc hwy y ymwreddiat dywiol, yn gymmeint ay ‡ geni hwy yr owrbon o newydd ean 'air Dew.

D.R. D.M.

Petr apostol Iesu christ, at y dieithraid, sy ar wascar trwy Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia, a' Bithynia,

2 Detholedic o racwybodaeth Dyw tad i santeiddrwydd yr yspryd, trwy vfuddtawd, a thaynelliad gwaed Iesu Christ: Gras ywch a heddwch a amylhaer.

3 Bendigedic fo Dyw, a thad eyn harglwydd Iesu Christ, rrwn oi fawr drugaredd an adenillawdd ni, y obaith bywiol trwy ail gyfodiad Iesu Christ o ddiwrth y meirw,

4 Y gael ytifeddiaeth * diddiwedd a ‡ difwygr, ac ni diflanna 'rron a roed y gadw yn y nef y * nyni,

‡ anllygradwy
* chvvi

5 Rrain trwy allu Dyw ydym gadwedic herwydd ffydd y gael y diogelwch a ddarparwyd yw arddangos yn yr amser diwaythaf:

6 yn yr hwn beth y ddych yn llawenhau, cyd by-wech ennyd bach (o bai raid) mewn tristwch, herwydd amryw brofedigaythay,
7 Mal y cesser profiad ych ffydd chwi, sy werthfo-wrusach nor aur colledic, (cyd profer ef * trwy dan) ir mawl, ac anrrydedd a' gogoniant yvvch, pan ymddangoso Jesu Christ:
8 Rhwn heb y weled y ddych yn y garu, yn yr hwn ir nas gwelwch ef yrwan, y ddych ir hynny yn cre-du, ac yn llawenhau a llywenydd ‡ ni ellir eu ymna-drodd a' gogonyddus,
9 Gan dderbyn terfyn ych ffydd, ys * diogelwch ‡ yr eneidiau.
10 Am yr hwn * ddiogelwch ir ymofynasont, ac y chwiliasont y prophwydi, rrain a prophwydasont am y gras oedd tuac attochi,
11 Gan ymgais pa bryd neu pa ryw amser y gwe-nai ysbryd Christ oedd ynthyntwy yn testlauthu yn y blaen, ysbusu, y dioddefau y gaffai Christ, ar go goniant ay cydcanlynay hwynt.
12 Ir rrain y dangoswyd, nad iddyntwy, eithyr y nyni y gwasnaythay y pethau a fanegwyd y chwi trwy yr hai a bregethasont ywch yr efengl trwyr ysbryd glan a ddanfoned or nefoedd, ac ar yr rain y chwennych yr angylion gael edrych.
13 Oblegid hyn gwregyswch llwynay ych medd-wl: byddwch sobr: a' gobeithiwch yn berffaith ar y gras a ddycpwyd attoch, drwy ‡ drychioleth Je-su Christ,
14 Megis plant ufuddion, rrain ni chydymgyffly-bwch ych hunain ar hen trachwantay yn yr anwy-

* ar tan
‡ anrraeth-awl
* iechyd, ca-dwedigeth
‡ eich
* iechyd
‡ ymddangosiat, ddatguddiat

bodaeth einoch:

15 Eithyr megis ac y may y neb ach galwodd chwi, yn santaidd, byddwchithay hebyd santaidd ymhob ymwreddiad,

16 Am hyny ir escribennir, Byddwch santaidd, cans mybi santaidd ydwy.

17 Ac as gelwchi ef yn Tad, rrwn heb ystyriaeth person a farna ar ol gweithred pawb, ymddygwch tros amser ych preswylfa yma mewn ofn,

18 A chwi yn gwybod nad a phethau llygredic megis arian nei aur ich * ymwaredwyd o ddiwrth ofer ymwreddiad, a gawsoch o'osodigaythay'r tadau,

19 Eithr a gwerthfawr waed Christ, megis yr oen diftych enlyd dihalogedic.

20 Rrwn a ddarparthawyd yn y blaen, cyn gosod seilfaynay y byd, eithr a ysbyswyd yn yr amseroedd diwaythaf ir ych mwyn chwi,

21 Rrain ydych trwyddo ef yn credu ‡ i Ddyw, rrwn ay cyfodes ef o ddiwrth y meirw, ac a rodes iddo ef ogoniant, mal y bay ych ffydd chwi ach gobaith ar Ddyw.

22 A chwi gwedi puro ych eneidiau, am ufuddhau ir gwirionedd trwyr ysbryd, mewn cariad brodu raidd * diweniaeth, cerwch bavvb y gilidd yn ‡ 'tymus,

23 Chwi a aned o newydd, nid o * hil farwol eithr o hil anfarwol trwy air Dyw, rrwn sy fyw ac yn aros yn dragwyddol.

24 Can ys pob cnawd mal y glaswelltyn yvv, ‡ a' phob tyfig dyn val blodeu yn y glaswelltyn. Gwywo a

*prynwyt

‡ynnw

*diffuant
‡ehelaeth, bybyr, awyddus, dwysfryd

*had
‡ac oll'ogoniant

wo a wnaar glaswelltyn, a'r blodeuyn a gwympa i lawr.

25 Eithr gair yr Arglwydd a erys yn dragwyddol: a hwn yw ydyw y gair a bregethwyd ‡ y chwi. ‡yn eich plith

## Pen. ij.

1 Eu hannoc y mae ef ar roi heibio pop * glwyd, 4 Gan dangos may Christ yw'r sail y maent yn adailad arnaw. 9 Rygorbraint y Christianogion. 11 Y mae ef yn erbyn ydynt ymgynnal ywrth chwanteu cnawdol. 13 Bot ufydhau ir llywiawdwyr. 18 Y'od y dlei gwasanaeth-ddynion ymddwyn ‡ wrth eu perchen. 20 Annoc y mae ddyoddef yn ol esempl Christ.

*camwedd, bai

HErwydd hyn, dodwch heibio pob malais a phob twyll, a phob *rragrith, a' chenvigen, a phob ‡goganair.

*ffuant ‡drwg dabodlen

2 Ac mal rrai bychain newydd eni byddwch chwannoc y laeth didwyll y gair, mal i gallocb drwy hwnw gynyddu,

3 Os profasochi fod yr Arglwydd yn * gywaithas.

*Gr. chrestos mwyn, adfwyn, daionus, hyfryd, eirion llesol

4 At yr hwn y ddych yn dyvod megis at faen byw anghymeradwy can ddynion, eithr can Ddyw etholedic a' gwerthfawr,

5 A' chwithau hefyd megis main bywiol, a edyladwyd yn dy yspryddol, ac yn effeiriadaeth santaidd y offrymmu aberthau ysprydol cymradwy can

Dduw trwy Iesu Christ.

*Wele — 6 Ac am hyny y cynhwysir yn yr scrythr, *Nycha, dodi y ddwy yn Syon sail fayn arbennic, etholedic a' gwerthfawr: ar ‡neb a gretto yntho, nis gwradwyddir ef. ‡hwn

‡anrydedd — 7 O blegid hyn y chwi sawl ydych yn credu, ‡hyddas yw: eithr yr anufuddion, y maen a wrthodasont yr edeiladwyr, hwnw a wnaed yn ben congl.

*cwympu, rhwystr — 8 Ac yn faen tramcwydd, a' chraic * afrifed, ir rai sy yn tramgwyddo wrth y gair a hwynt yn anufydd, ir hwn i beth ir ordinhawyd hwyntwy.

‡cenedl — 9 Eithr chwichwi cenhedlaeth etholedic ytych, brenhinawl effeiriadaeth, *nasiwn santaidd, pobl syn yn briodoriaeth y Ddyvv mal i gallechi danegi rinweddau ‡y neb ach galwodd o dywollwc yw ryfeddodys 'oleuni ef,

*yr hwn — 10 Rrain gynt nid pobl oyddech, yn awr hagen pobl Ddyw: rrain gynt ni doed ywch trugaredd, yn awr hagen a freiniasoch trugaredd.

*Yr Epistol y iij. Sul gwedy yr Pasc.* — 11 Vyngtredigion, ytolwc ywch, megis dieithraid a phererinion ymgedwch o ddiwrth trachwantau yr cnawd, rrain sy yn rryfela yn erbyn yr enaid,

12 A bid ych ymwreddiad yn honest ymysc y cenhedloedd, mal y gallo rrai sy ich goganu mal pe byddech * afrifeid, herwydd ych gweithredoedd da y welant, foliannu Dyw yn y dydd ‡ ir ymweler ac wynt.

*rei yn gwneuthur drwc — ‡y gofwy, ymweliat

13 Ymddarostyngwch o blegyd hyn y bob dynawl odinhad ir mwyn yr Arglwydd, ai ir Brenin, mal ir goruchaf,

14 At ir llywiawdwyr, mal i rrai trwyddo ef a ddanfonir, ir *dialedd ir rrai drwc, ac ir mawl y'r rrai da.

*poeni, cospi

15 Canys felly may wollys Dyw, mal y galloch wy wneuthyd yn dda gostegu anwybodaeth dynion ffolion.

16 Megis yn rrydion, ac nid val rrai a gymer rrydit yn lle cochel malais, eithr mal gwasnaythwyr Dyw.

17 Perchwch bawb: cerwch cymdeithas frodu-raidd: ofnwch Ddyw: anrrydeddwch y Brenin.

18 Gwenidogion, ymostyngant mewn pob ofn y'w meistred, nid yn unic ir rrai da cywarthas, eithr y'r ir ‡anghyweithas hefyd.

‡caimion, celltan

19 Canys hyn sy *rasol, as herwydd cydwybod i Ddyw, y bo y neb cydymddwyn molestay, yn goddaf yn ddiachos.

*radlon, di-olehgar

*Yr Epistol yr ail Sul gwedy yr Pasc.*

20 Oblegid pa glod yw, ir bod yn dda ych ymynedd pan cernotter chwi am ych beie? eithyr pan wneloch dda, ac ir hynny yn dda ych ymmynedd yn goddef cam, hyn sy ‡rasol gar bron Dyw.

‡rad, gymeradwy

21 Canys y hyn y galwyd chwi: o blegid Christ hefyd a ddioddefodd trosom ni, gan adel y ni *angraiffe val y gellychi ganlyn eu ‡olion ef.

*esompl ‡llwybrew

22 Rrwn ni wnaythodd pechod, ac ni chad twyll yn eu enau.

23 Rrwn pan *ddirmygwyd ef, ni ddirmygawdd eilwaith: pan ddyoddefawdd, ni bygythiodd, eithyr ‡bwrw y dialedd at y neb sy yn barnu yn gyfion.

*ddifenwyt, ddiscrenliwyt ‡rroi ar y'r hwn

24 Rrwn y hun a ddug yn pechoday ni yn eu corff

ar y

ar y pren, val y gallem ni wedi eyn ymwared o ywrth pechod, fyw y gyfiawnder, trwy cleisiau rrwn yr iachaywyd chwi.

25 Can ys y roydddech megis defaid yn mynd ar *ddidro: eithr yn awr chwi a droysoch at bugail, ac escob ych eneidiau.

*gyfeiliorn, ddiwenda, ddispirod

## Pen. iij.

1 Py wedd y dlei bot ymwreddiat gwraged yw gwyr, 3 Ac yn ei gwiscat. 7 Dlet gwyr yw gwraged. 8 Y mae ef yn annoc pawp i vndap a' chariat, 14 Ac yn ymarous y dyoddef trwbl wrth esempl a' dawnged Christ.

VAl hynny hefyd y gwragedd, byddant ostyngedic yw gwyr pryod mal y galler os byddai rrei anvfyddion ir gair, trwy ymwreddiad y gwraged eu hynnill hwynt heb y gair,

2 Pan ganfyddont ych ymwrediad *diwair, ys y gyd ac ofn.

*pur

3 Trwsiad yr hain nid oddiallan y bytho, megis o blethiadau gwallt, ac amgylch olodiad aur, neu wisciad dillat gvvychion.

4 Eithr dyn ‡ dirgeledic y galon, bid dihalawc, ac yspryd esmwyth llonydd, rrwn sydd fawr eu bris gar bron Dyw.

‡cuddiedic

5 Can ys velly gynt ir ymddiriiayr gwragedd santaidd, rrain byddynt yn gobeithio *Dyw, yn ddarostyngedic yw gwyr ‡ priawd.

*ynuw, ar Dduw
‡Gr. 'idiois

6 Megis

6 Megis ir vfuddhaodd Sara y Abraham, can y alw ef yn Arglwydd: merched yr * hon fydwchi, o wneuthyr yn dda, heb arnoch ofn dim dychryn.

*Gr. hes

7 Chwithau y gwyr, yr vn ffunyd, cydgyfanhedwch ac wynt mal y gweddday i rai gwybodol, can rodi anrrydedd ir wraic, megis ir llestr gwannaf, mal y rrai sy hebyd cydetifeddion gras y bowyd, rrac trwystro ych gweddiay chwi.

8 Am benn hyn, byddwch bawb or vn meddwl, ‡yn cydoddau pawb gidau gilidd: cerwch fal brodyr: byddvvch yn drugawg: byddvvch yn gwortais.

*Yr Epistol y v. Sul gwedy Trintot.*

‡Gr. sympatheis

9 Nid yn talu drwc tros drwc, neu ‡ ddirmic tros dirmic: namyn *elchwyl bendithiwch, gan wybod ych galw y hyn, fef y freinior fendith ‡ o etifeddiaeth.

*fenn

‡yn wrthwynep

10 Canys y neb a chwennych y bowyd, ac a garo weled dyddiau da: attalied eu dafod o ddiwrth ddrwc, ay wefusay rrac adrodd twyll.

11 Gocheled y drwc a gwnaed y da: ceisied hedwch a dilyned hwnw,

*dilyned

12 Canys llygaid yr Arglwydd 'sy * tuag at yr cyfion, ay glustiay ef tu ac at y gwedi hwynt: eithr wyneb yr Arglwydd fydd gorruch y rrai a wnel drwc.

‡ar

*ac

13 A' phwy ach dryga chwi, os byddwch yn dylid yr hyn 'sy dda?

14 Eithr o bydd ywch ddyodddef herwydd cyfiownder, dedwydd ydych: ond am y ‡ brawchiad hwynt nad ofnwch, ac na *chynhyrfwch.

‡hofn

*chynyrfer

15 Eithr santeiddiwch yr Arglwydd Ddyw yn ych calonay: a' byddwch barawd bob amser y atteb y

bawp

bawp a ofynno ywch reswm am y gobaith sy ynoch,

16 A hynny trwy vfuddtra a * chwrteisrwydd, a'chenych cydwybod dda, mal y gallo y rrai a ddoyto yn ych erbyn megis yn erbyn rrai drwc, quilyddio, rrain a feiant ar ych dayonys ymwreddiad yn Christ.

*pharch

17 Canys gwell ydyvv (os wollys Dyw ay mynn) i chwi ddyoddef yn gwneuthr dayoni, nac yn gwneuthyr drugioni.

*Yr Epistol ar nos Pasc.*

18 Canys Christ hevyd vnwaith a ddioddefodd tros pechoday, y cyfion tros yr anghyfion, mal y galle yn dwyn ni at Ddyw, ac a gavas marfolaeth yn y cnawd, eithr a fywhawyd yn yr yspryd.

19 Trwyr hwn hevyd y ddaeth ef, ac a bregethawdd ir espyrydion oedd yn-carchar,

20 Gynt yn anvfydd hwynt, pan vnwaith y doedd hir ymynedd Dyw yn discwyl yn-dyddiay Noe, pan ddarpatheid yr arch, yn yr hon ychydigion, ysef yw, wyth *enaid a ‡achubwyd yn y dwfr.

*dyn
‡waredwyt gadwyt

21 Ir rrwn y may yr *angraifft sy yn awr yn eyn ‡ achub ni nay ysef y bedydd yn attep (nid trwyr hwn y tynnir y ffordd budredi y corph, eythr trwyr hwn y gwna cydwybod dda ymofyn a Dyw) trwy gyfodedigaeth Jesu Christ,

*gynddelw
‡iachau, cadw

22 Rrwn sydd ar y llaw ddeau i Ddyw, gwedi myned ir nef, ar Angylion ar *powerroedd, ar ‡gallu wedi ymddarostwng iddo.

*Awdurdode, Gallu oedd
‡meddiante

Pen. iiij.

Cygori dynion y beidiaw a phechot y mae ef. 2 Na threulion mwy o'r amser yn-camwedd. 7 Bot yn sobr ac yn hywaith y weddiaw. 8 Caru eu gylydd, 12 Ymddyodde yn-trwbl, 15 Ymogelyd rrac bot i neb ddyodde mal drycddyn, 16 Eithyr mal Christian, ac velly na bo arno gywilydd.

AM hynny can ddioddef o Christ trosomni yn y cnawd, chwithe hefyd arfogwch ychunain ar vnryw feddwl, ys ef bot i hwn a ddioddefodd yn y cnawd, beidio a phecod,

2 Ir mwyn hyn na bo iddo o hyn allan (tros yr hyn sy yngweddill n amser yn y cnawd) fyw ar ol trachwantay dynion, eithr ar ol wollys Dyw.

Cans digon ydyw y ni dreulio o honom yr amser aeth heibio o'r enioes, ar ol trachwāt y cenhedloedd, yn rrodio mewn drythyllwch, trachwantay, meddtod, glothineb, * ymyved, a ffiaidd ‡ addolieidwyay.

Achos paam may yn chwith canthunt, na byddwch yn cydredec gidag wynt, ir vnrryw * ormodd rhysedd, dan ych ‡ dychanu chvvi.

Rrain y bydd rraid vddynt roy cyfri ir neb, sy barawd y farnu y byw ar meirw.

Cans ir mwyn hynny y pregethwyd yr evengil ir meirw hefyd, mal y gellid y cyfyrgolli hwynt, ar rann dynion, yn y cnawd, eithyr y gellynt fyw ar rann Ddyw yn yr ysbryd.

Diwedd pob peth sy yn agosau. Am hynny byddwch gymesurol, a deffroedic y weddiaw.

8 Ym-

* diota

‡ Gr. eidolo latreiais

* Gr. 'asotias

‡ cablu, goganu

*Yr Epistol ar y Sul gwedy yr Dercharvael.*

8 Ymlaen pob peth bid cariad twymyn yn ych plith: can ys cariad a guddia * liaws pechoday.

*laweredd

9 Lletteywch bawb y gilidd, yn ddi ‡ butnur.

‡oddirwyth, dirwgnach

10 Pawb megis ac y cafas rodd, byddet iddo eu chyfrannu ay gilidd, mal dayonys stiwardiaid am ryw ras Dyw,

11 Os * dowaid neb, dyvvedet megis gair Dyw. Os ‡ gweini a wna neb, gvvnaed hynny megis o'r gallu y may Dyw yn i roddi, mal y molianner Dyw ymhob peth trwy Iesu Christ, ir hwn y may gogoniant, ac * arglwyddiaeth yn oes oesoedd. Amen.

*ymadrodd

‡gweini-doca

*Gr. to cratos, gallu, nerthow-gawydd

12 Caredigion, na fid chwithe cenych y prawf sy arnoch trwy dan, rrwn a wneid ir profedigaeth ywch, val pe digwyddai ywch ryw beth dierth:

13 Eithr llawenhewch, can ych bod chwi yn gyfrannoc ar * goddefiaday Christ, mal y galloch pan egluerer y ogoniant ef, fod yn llawen ac yn hyfryd.

*ddioddefion

14 Os ‡ dirmygir chwi er mvvyn Enw Christ, dedwydd ydych: cans yspryd y gogoniant, ac (yspryt Dyw a orphwysa arnoch: rrwn ar y rran hwynt a gapff anair: ac ar ych rran chwi a folienir.

‡ymsenir, dibenwir

15 Eithr na fid i neb o honoch oddef * aabyd mal llofrydd-celain, neu leidr, neu ddrygwas, neu fal ‡ vn a vo yn ymyrreth a materion rrai ereill.

*cosp

‡ymyrrwr

16 Eithr os dyoddef neb megis cristion, na fid cwilidd cantho, namyn moliannet Dyw yn hynny o ran.

17 Can ys yr amser a ddoeth, y bydd rraid ir farn ddechre * ar dy Dyw. Ac o dydiw yn gyntaf yn

*yn

dechre

dechre arnam ni, pa ryw ddiwedd a fydd ir rrai ni choyliant evengil Ddyw ?
18 Ac os prin ir iacheir y cyfion, yr enwir ar pechadur ple ir ymddengis ?
19 Ac am hynny gwnaed y rrai sy yn goddef ar ol wollys Dyw, ymroi yddo ef eu heneiddiau trwy wneuthyr yn dda, megis ir creawdyr ffydlon.

## Pen. v.

1 Dlet y Bugelydd-Ecclesic yw * porthi devaid Christ, a' pha 'obr a gant a's gwnant hyny yn ddiwyd. 5 Cygori y mae ir ei ieuainc ymddarostwng ir henafieit. 8 Bot yn sobr, a' gwiliad ar allu o hanyn wrthladd y gelyn.

*bwydo

ER *henaduriaid sy yn ych plith, yr ytolygaf finau sy hefyd ‡ henadur a thyst dyoddefiadeu Christ, a chyfrannawc hefyd or gogoniant a eglurir rrac llaw.

* Prespyteros
‡ Prespyter

2 Porthwch * ddiadell Ddyw, sy tan ych llaw, ac yngeredddwch hwynt nid trwy gymell, eithr yn wyllyscar: nid ir chwant budr elw, namyn o barodrwydd meddwl:

*ddefait
‡angraiffe

3 Nid fal rrai a fynnon vod yn arglwyddi ar tretad Dyvv, eithr fal y gallech fod yn ‡ siampl ir ddiadell.
4 A' phan ir ymddangoso y pen bugael, cael a wnewch goron ddilwgr y gogoniant.

*Yr Epistol y iij. Sul gwedy Trintot.*

5 Yr vn ffunyt yr * ifainc, byddwch ostyngedic ir henafiaid, a chydymostyngwch bawb yw gilidd: ac ymdrwsiwch o ddifewn ac vfudddra meddwl:

*ei iangach

can ys Dyw a wrthladd y beilchion ac a dyry gras ir ei vfudd.

‡yn yr am-chyser; ynid

6 Ymostyngwch achos hyn tann alluoc law Dyw, mal y gallo ych dyrchafu ‡ pan ddel amser,

7 Cwbl och gofal bwriwch arno ef: can ys ef 'sy yn gofalu trosoch vvi.

8 Byddwch sobr a' gwiliwch, can ys ych gwrthnebwr diawl megis llew rruadus sy yn rrodio o ddamgylch, yn ceisio neb a allo y lyncu:

*gwrthsefwch, cyferbynnwch
‡blinderau.

9 Rrwn *gorddrechwch ef yn gadarn yn y ffydd, dann wybod vod yn cyflowni yr vnrryw ‡ anaple yn ych brodyr sy yn y byd.

10 A Dyw avvdur pob gras, rrwn an galwodd ni yw tragwyddol 'ogoniant trwy Christ Iesu, wedy darffo ywch oddeu ychydic, ach gwnel yn perffaith, ach cadarnhao, ach cryfhao, ac ach sicerhao.

11 Iddo efe y bo gogoniant ar emerodraeth yn oes oesawdd, Amen.

12 Gyda Sylvanus brawd ffyddlon ywch, im tyb i, y ddysc crifenais ar ychydic, dan ych cynghori, a thystlauthu mayr gwir ras Dyw ydiw hwn, y ddych yn sevyll yntho.

13 Mae yr eglwys sy yn Babylon cydetholedic a chwi, yn erchi ych annerch, a' Marcus sy mab i.

14 Anherchwch bawb y gilidd a chusan cariad. Tangnhefedd ywch oll achlan sawl ydych yn Christ Iesu. Amen.

# Yr ail Epistol cyffredinol y ddo Petr Apostol.

## YR ARGVMENT.

Effect ac amcan yr Apostol yn hyn o van yw eiriol ac annoc yr ei vnwaith y* broffessent Christ, ar aros o hanynt yn hyny yd yr awr ddywedd: hefyd bot Dew can ei 'rymiol rat yn cyffroi dynion i sancteiddrwydd buchedd, can poeni yr ‡hypocriteit yr ei a gamarverant oy Enw ef, a' chan angwanegu ei ddonieu yn yr ei dywiol: erwydd paam can vuchedd ddewiol ese yr awrhon hayach * ar dervynu ei einioes, ys ydd yn ei hansc y gymradwyaw ei galwedigeth, nyd can ddodi ei hawyddvryd ar betheu bydawl (megis ac yr scrivinesei ef yn vynych atwynt) eithyr can derchafael eu golwc parth ar nefoedd, mal eu dyscir y gan yr Euangel, tr hon y mae ef yn dest eglaer, yn benddivaddeu am ydd glybot a'i glusteu ehun ‡galw o'r nef Christ y bot yn Map Dew, megis ac yn yr vn modd y testiasent y Prophwyti. A'rrac yddynt wy addaw llonyddwch yddwynt y hunain wrth * proffessu yr Euangel, y mae ef yn eu rhybuddiaw am y trublen a gessynt arnwynt gan y gau ddysciawdwyr, a' henyt gan watwarwyr a' thremygwyr ‡ creddyf, yr ei y mae ef yn hōny ei moddion a'i cynneddfeu mal pe eu yscrythrid ar llenn: gan gycori y ffyddonieit nyd yn vnic dysgwyl yn ddyval am Christ, anyd hefyt syllu yn gyddrychiol ddydd y ddyuodiat ef, ac ymgadw yn divrych ervyn y dythwn.

*addefessēt

‡y gausaint

*ymbraint angeu, ymbrō ei bwll

‡gyhoeddi

*gyfaddef, ymarddelw yn yr

‡dywoldep

## Pen. j.

4 Yn gymmeint a darbot y beddiant Dew rodi yddynt bop peth yn perthyn i fuchedd, y mae ef yn eu hanoc y encilio rrac llygredigeth chwanteu bydawl. 10 Diogely ei galwedigeth * a gweithredoedd da, a ffrwythen ffydd. 14 Y mae ef yn coffau am y barwoleth y hun, 17 Can ddeclaro bot yr Arglwydd Iesu yn wir Vap Dew, megis ac y gwelsei ef y hun ar y mynydd.

*trwy, can

Sym-on Peter, gwasnaythwr, ac abostol Iesu Christ, ir rrai a freiniason ffyd gyffelip anrrydedd a ninay, trwy gyfiownder eyn Dyw an *achubwr Iesu christ:

*Iachawdr

2 Gras y-wch, a'thangneved a amylhaer, trwy ednabyddiaeth Dyw ac Iesu eyn arglwydd,

3 Megis y rroddes y ddywiol allu ef i ni bob peth am a berthynant ir bowyd a' ‡ gwaredd, trwy y ednabyddieth ef rrwn an galwodd ni y ogoniant a rrinwedd.

‡dywoldep

4 Gan hyn, ys ef roddi yni addaweidion rragorsfawr ‡ gorchestol, val y gellech trwy rreini fod yn gyfrannoc o ddywiol anian, wedi diainc or llwgwr, sy yn y byd trwy trachwant.

‡anrydedus

5 Ac ar

5 Ac ar hyn dodwch gwbl och diwydrwydd: cysylltwch gidach ffydd rinwedd: a' chida rrinwedd, gwybodaeth:

6 A chida gwybodaeth, cymhedrolder: a chyda chymhedrolder, ‡ ymynedd: a chidac ymynedd, * gwaredd:

7 A chida gwaredd, credigrwydd brodur aidd: a chyda chredigrwydd brodur aidd, cariad.

8 Can ys of byddwchwi ar pethau hyn cennwch, ac yn amyl hwynt, peri a wnant na boch na segur na diffrwyth yngwybodaeth eyn Arglwydd Iesu Christ.

9 O blegid neb ni bo rrain cantho, dall ydiw ac ni wyl ddim o bell, yn gollwng tros go eu ‡'lanhau oy hen bechoday.

10 Or achos hwn, fym rodyr, byddwch yn hwy diwid y wneuthyr ych galwedigaeth ach ethelodigaeth yn sicir: can ys o gwnewchi hyn, ni lithrwchi byth.

11 Can ys yn y modd hwn digonawl * yd ymgledir chwi, o ffordd iat i dragwyddol teyrnas eyn Arglwydd an ‡ Achubwr Iesu Christ.

12 Or achos hwn, nid esceuleusaf i ych coffhau chwi fyth am y pethau hyn, cyd bochi cyfarwydd, a' siccir yn y cyndrychol wirionedd.

13 Can ys tybiaid y rwy fod yn iawn i mi, tra fwy yn y tabernacl hwn, ych cyffroi trwy ddwyn ar gof ywch.

14 Can y mod i yn gwybod fod yn gyfagos yr amser y dodaf heibio y tabernacl hwn, megis ac y dangoses eyn h Arglwydd Iesu Christ i mi.

‡ anmyned, ymaros
* dywoldep
‡ garthu
* y treisir y chwi
‡ Iachawdr

15 Diwid fydda hefyd ar bod ywch allu gwneythyr coffa am y pethau hyn, gwedi vy ymadawiad;
16 Can ys nid chwedlay dichellus a ganlynhasom ni pan oeddem yn manegi ywch rinwedd, a dyvodiad ein harglwydd Iesu Christ, eythyr an llygaid y gwelsom eu fowredd ef:
17 Can ys ef a dderbyniasai can Ddyw tad anrydedd a gogoniant, pan *ddeuawdd cyfryw lef atto ef o ddiwrth y dirfawr'ogoniant, Hwn yw'r mab credigol mau fi, yn yr hwn im ‡boddlonir.
18 A'r llef hon a glowsom ni pan ddoeth o'r nef, a ni gidac ef yn y mynydd santaidd.
19 Y ddym ni hefyd a gair * cadarnaf yprofflwydi cenym, yr hwn da i ‡gweithiwch o ddarbod am dano, megis am oleuni yn llewrchy mewn lle towyll, hyd oni wawrio'r dydd, ac yni chotto ‡seren ddydd yn ych calonay.
20 Os bydd i chwi ar wybod hyn yn gynta, na does vn proffedoliaeth yn yr scrythyr ac iddi * lademeriaeth neillduol.
21 Can ys nid trwy wollys dyn y doeth gynt proffedoliaeth: eithr dynion santaidd Dyw a ddywedasont megis y cynhyrchwyd hwynt can yr yspryd glan.

*ddaeth
‡cwbl boddhetr
*ffyrfaf
‡gwnelwch
‡La. lucifer
*o angerdd priawd, o awenydd dynawl

## Pen. ij.

Prophwyto y may ef o ddysclawdwyr gauoc, ac yn dangos y y poenedigeth hwy.

1 Eithr

EIthr * neur fuont gau brophwydi ym plith y bobl, mal y bydd, yn ych plith chwithay athrawon ffeilsion, rrain yn ddirgel a ddygant y mewn ‡ etholffyrdd enbydus, ie yn gwadu yr Arglwydd rrwn y prynnodd hwynt, ac yn tynnu arnynt i hunain ddihenydd buan.

*ydd oedd
‡opiniones sceler, periclus

2 A' llawer a canlynant y * ffyrdd-enaidfaddau] hwynt, trwy'r rrain yr ‡ horitr ffordd y gwirionedd.

3 A' thrwy cybyddtra ac wrth airieu gwneuthyr y marsiandiant am danoch, barnedigaeth yr hain er ystalm ‡ ni hwyrhaa, ay colledigaeth hwynt ni chwsc.

*cyfergoll
‡enllybir, gogenir
‡ny ydw yn y pell

4 Canys onid arbedodd Dyw yr angylion, a bechasent, eithr y taflu i wared i vffern ay dodi mewn cadwynay towyllwc, yw cadw i cyfyrgolledigaeth:

5 Ac nid arbedodd yr hen fyd, eithr Noe yr wythfed dyn pregethwr y cyfiownder, a waredodd ef, ac a dduc y * diliw ar fyd yr ‡ enwiriaid,

*llif, dilyw
‡andywolion

6 Ac a droes dinasodd Sodoma a Gomorrha yn * lludw, ay dymchwelawdd ac ay cyfyrgolles hwynt, ac ay gwnaeth hwynt yn siampl ir rrai rrac llaw a vucheddynt yn anywiol,

*llwch

7 Ac a ‡ achubodd Loth gyfion rrwn oedd mewn gofid trwy aniwair ymwreddiad yr enwiriaid.

‡waredoedd

8 (Canys ac efe yn gyfion, ac yn trigo yn y mysc hwynt, yn gweled, ac yn clywed, ydoedd yn poeni eu enaid cyfion o ddydd y ddydd trwy eu anghyfreithlon weithredoedd hwynt.)

9 Yr Arglwydd a wyr * achub y gwirioniaid o iwrth profedigaeth, a' chadw yr ei anghyfiownion i ddydd y farn yw poeni:

10 Ac yn bēnaf y rrai ſy yn rrodio ar ol y cnawd, mewn trachwant ‡ anlendid, ac yn diſtyru awdurdod, ac wynt yn * rrybygus, ac yn rrac ymgyinryd, ac ny ‡ ruſiant * dirmugu y rrai ſy mewn goruchel ‡ anrrydedd.

11 Kyd byddynt yr angylion ſy fwy mewn cadernid a' gallu, heb ddodi * dirmygys farn yn y herbyn hwynt gar bron yr Arglwydd.

12 Eithyr y rrain megis enifeiliaid anrrysymol, rrain a ymborthir hwynt drwy anianol ymgyrch a wnaythbwyd yw dala, ac yw difa, a'ogan-ant y pethau ni wyddont o iwrthynt, ac yw dihenydd y deuant trwy y llygredigaeth y hunain.

13 Krain a dderbyniant gyflog anghyfiownder, mal y rrai ſy yn cyfri yn lle eiddunet byw mewn gwnfyd tros amſer. Brychay yntynt, a ‡ thriſclynay, yn ymddigrifo yn eu twylliaday, pan fônt yn cydwleddu gida chwi;

14 A llygaid canthynt yn llawn godineb, nis gallont chwaith beidiaw a phechod, yn * abwydaw eneidiau anwadal: a chenthynt galon gwedi ymgenefino a chybyddtra, plant yſcymyn,

15 Krain wedi ymadael ar ffordd * iawn, aythont ar grwydyr, yn canlyn ffordd Balaam, map Boſor, rrwn a garawdd gobyr anghyfiownder:

16 Eithr ef a geryddwyd am y gamwedd, can ys yr aſſen dáníauawl ‡ fud yn doyded a llef ddynol, a waharddodd enfydrwydd y proffwyd.

‡aſ. *preſūptus ‡ofnant *gaplu. ‡vrddas, awdurdot *diſenw, ſenbarn. ‡Gr. momoi māne, meſle. *llithio. ‡union. *Gr. aphonon .ſ. aſlafar.

17 Yr hain ffynnonnay ydynt heb ddyfr, a' niwlenne a ymchwal ar tymestyl, ir hain y may ‡ duedd tywollwg ynghadw yn dragowydd.

‡ gwrymder

18 Cans o ddoydet chwyddedic eiriau gorwagedd, trwy trachwantay, a thrythyllwch y cnawd, a bwydo, a wnant yr rai a ddianghesay yn 'lan, oddiwrth yrrai a ymdroysynt mewn crwydr,

19 Gan addaw yddynt rrydit, ac wynt y hunain yn wasanaethwyr llwgredigrwydd: can ys can bwy bynac i gorchfycer neb, ef aeth yn wr caeth i hwnw.

20 O blegit os wedi eu diainc o iwrth hal ogredigrwydd y byd, trwy ednabyddiaeth ein hArglwydd an * achubwr Iesu Christ, y cesser hwynt eilwaith wedi ymrwystro ar un pethau, a chwedi y gorchfygu, y diwedd ir rreini aeth yn waeth nor dechreu.

* Iachawdr

21 Can ys gwell fiase uddynt, na wybesynt ffordd ycyfiownder, na chwedi y gwybod, cilio o iwrth y gorchymyn santeidd a rodded uddynt.

22 Eithr uddyntwy y digwyddodd, * a ddowaid y wir ddihareb, Y ci a ymchwelodd at y ‡ chwdiad eu hun: a'r, Hwch wedi y golchi * yw ymdroyad yn y dom.

* yn ol ‡ chwyd, chwydfa * ir drobola dom

## Pen. iij.

3 Dangos y mae ef scelerder yr ei a watwarant addewidion Dew. 7 Ym-pa sut bodd y bydd dywedd y byt. 8 Ar bot yddynt ymbaratoi i hynny. 16 Pwy yw'r ei a gamarferant hyn a scrivenesci S. Paul, a'r Scrythurae eraill hefyt, 18 Gan dybennu a diolcheu tragywythawl i Christ Iesu.

YR ail epistol hon yddwyf yn awr yn y escrivennu attoch, fyngrredigion, yn yr honn y dwy yn dadebru trwy atcoffedigaeth ych meddwl puraidd,

2 Mal y bo cofus genych y geiriau, a ragddoydasont y prophwydi santaidd, an gorchymyn ninau rrain, ydym abostolion yr Arglwydd an * Achubwr.

*Iachawdur, Caidwad

3 Yn gynta dyellwch hyn, i deuant yn y dyddiau diwaytha, watwotwyr, yr ei a rodiant ar ol y trachwantau y hunain,

4 Ac a ddoydant, Ple may addewid y ddefodiad ef? canys ir pen fu farw y taday, pob peth sy yn perhau yr vn ffunyt o ddechreuad y creaduriaeth.

5 Canys hyn ‡o waithyodder nis gwyddant, fod y nefoedd ir ystalm byd trwy air Dyw, ar ddayar hefyd sy or dwr, ac yn y dwr.

‡oi bodd

6 Achos pam y byd rhwn ydoed hynny o amser, a gyfyrgollwyd, trwy ddwfyr diliw.

7 Eithr y nefoedd ar ddayar, y sydd yr awr honn, trwyr vn gair y maynt wedi y rroi y gadw, i daan erbyn dydd y farn, a' difa yr enwir ddynion.

8 Yr vn peth hynn, fyngrredigion, na fid diarwybod ywch, vod vn dydd gidar Arglwydd, megis mil o flenyddoedd, a' mil o flynydoed mal vn dyd.

9 Nid ydiw yr Arglwydd yn ehwyrhau, am eu addewid, (megis y tybia rrai ehwyrdra) eithr ymyneddus yw tu ac attom ni, ac nis mynay neb fod yn golledic, namyn dyvot o bawb i edifeirwch.

10 Eithyr dydd yr Arglwydd, megis lleidyr y nos

y daw

ydaw, yn yꝛ hwn y ca heibio y nefoedd mewn trwst, a'r defnyddiau yn wir o wꝛes a ddoddant, ar ddayar ac a fo ynthi o waith[ic], a loſcir.

11 A chan bot yn rraid y hynn * y gyd ymellwng, pa ryw fath ddynion y delechi fod mewn ſantaid ymwꝛeddiad a dywoliaeth,

12 Yn diſcwyl, ac yn bꝛyſio at ddyfodiad dyd Dyw, yn yꝛ hwn i llyſc y nefoedd, ac ir ymollwng, ar ‡ defnyddiay can wꝛes a doddant?

13 Eithꝛ y ddym [ni] yn diſcwyl am nefoedd newydd=ion, a' dayar newydd, ar ol i eddewid ef, yn yꝛ hun y* cyfanhedda cyfiowndeꝛ.

14 Am hynny, [fyn]gꝛredigion, can ych bod yn gwilia'd am gyfryw bethay, rrowch ych bꝛyd ar allu ohono ef ych cael yn ddifrych[eulyd] ac yn ddilwgyꝛ mewn tangnhefedd.

15 Ac am hir ymynedd eyn [h]Arglwydd rrac cyme=rwch may iechyd yw, megis yꝛ yſcryfennodd eyn caredic frawd Paul attoch[wi] herwydd y doythineb a rodded iddo,

16 Megis *y neb ſy yn ſon ‡ ym hob epiſtol am y cyfryw hynn: y myſc y rrain may rryw bethay an=hawdd y dyall, rrain a wyꝛant y rrai ſy anyſcedic ac anwadal, mal yꝛ yſcythyꝛay eraill, ir diſtriw yddynt y hunain.

17 Chwichwi am hynny [vyn]gꝛredigion, can ych bod yn gwybod y pethay hynn ymlaen llaw, goche lwch, rrac ych tynnu chwithay hefyd ar gyfeiliorn yꝛ enwiriaid, a chwympo o ddiwꝛth ych ſicrwydd ych hunain.

18 Eithꝛ cynyddwch mewn gras, ac ednabyddieth

eyn

‡elmentae, elfyddae

*oll

‡Gr. ſtoicheia

*pꝛeſwyl, trig

*bro

‡ei oll

eyn Arglwydd ni an*ceidwad Iesu Christ: ir hwn y bo gogoniant yr awr honn, ac yn dragwyddol byth. Amen.

# Yr Epistol cyntaf cyffredinawl Ioan Apostol.

## YR ARGVMENT.

W.S. tri Ioan ac vn Iudas.

GWedy darbot i S. Ioan ddeclaro yn ddigonawl, bot ein oll iechydwriaeth yn sefyll yn vnic yn-Christ, rac bot y nep wrth hyny y gymeryd hyder y bechu, y mae ef yn dangos na ddychon nep credu yn-Christ, oddyeithr yddo ymroi y gadw y *gorchymynnion ef, gwedy darbot hyny, y may ef yn eu cygori y *ymogelyt rac gau prophwyti, yr ein a ailw ef ‡Antichristieu, a' *phrobi'r ysprytion. Yn ddywethaf oll y mae ef yn ei dysrifol gycori hwynt y drawdol gariat, ac y o'chelyd twyllwyr.

*'oaglyd ‡Gwrth- *ffryvo, threio

### Pen. j.

*glanhat

2 Testiolaeth wir am y tragywyddawl 'air Dew. 7 Gwaed Christ yw y *carthiat pechot. 10 Nyd oes nep eb pechot.

Yr hyn

YR hyn oedd or dechre, yr hynn a glywsam, yr hyn a welsam a'n llygait, yr hyn a edrychasam arnaw, ac a a deimlodd ein dwylaw o'air y bywyt,

*'Yr Epistol ar ddydd S. Ioan Euangelwr.*

2 (Can ys y bywyt a ymddangosodd, ac ei gwelsam, ac ydd ym yn testio, ac yn dangos ychwy y bywyt tragybythawl, yr hwn oedd y gyd a'r Tat ac a ymddangosawdd yni)

3 Yr hyn, meddaf, y welsam ac a glywsam, a ddeclarwn ychwi, val y bo y chwithe hefyt ‡gymdeithas gyd a ni, ac val y bo ein cymdeithas ni hefyt y gyd or Tat ai Vap Iesu Christ.

‡cyfeillach, cymmun, cyfundap

4 Yr petheu hyn a scrivenwn atoch, val y bo eich llawenydd yn gyflawn.

5 Hyn yw'r genadwri a glywsam cantho ef, ac ydd ym yn y ddeclaro y chwi, ‡ may golauni yw Duw ac nad oes yntho ddim tywyllwch.

‡bot Duw yn 'oleuni

6 A's dywedwn bot y ni gymdeithas ac ef, a rrodio yn y tywyllwch, celwyddoc yym, ac nyd ydym ar y * gwir.

*lawn

7 Eithyr as rrodiwn yn y golauni, megis y mae ef yn y golauni, y mae y ni gymdeithas au gylydd, a' gwaet Iesu Christ ys ydd in carthu ymorth pop pechot.

‡glanhau

8 A's dywedwn nad oes *cenym pechot, ydd ym ni twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nyd oes ynom.
9 A's ‡cyffeswm ein pechotae, ffyddlon yw ef a chyfiawn, val y maddeuo y ni ein pechoteu, a'n ‡carthu y wrth oll enwiredd.
10 A's dywedwn na phechasam, ydd ym yn y wneuthur ef yn gelwyddoc, a'i air nyd yw ynom.

*ynom
‡addefwn
‡glanhau

## Pen. ij.

1 Bot Christ yn Ymddiddanwr yni. 10 Am gariat *perffeith, a'i ph'wedd y trei,r. 18 Gogelyd rrac Antichrist.

*cywir

Vy *meibion-bychain, y pethu hyn ydd wyf yn y scryvenu atoch, val na phechoch: ac a phecha nep, y may y ni *ymddiddanwr y gyd a'r Tat, Iesu Christ y cyfiawn.
2 Ac efe yw'r ‡cyffiliat tros ein pechodeu: ac nyd tros yr eiddom ni yn vnic, eithyr tros pechotae yr oll vyt.
3 Ac wrth hyn y gwyddam yr adwaenam ef, a's cadwn y'orchymynion ef.
4 Yr hwn a ddywait, Mi adwen ef, ac *ny chaidw ei'orchmynneu, celwyddawc yw, a'r gwirionedd nyd yw yntho.
5 Eithr hwn a gaidw y'air ef, yn wir yn hwnw y mae cariat ar Dduw yn berffeith: wrth hyny gwyddam ein bot yntho ef.
6 Yr hwn a ddyweit y bot yn aros yntho ef, a dylei ys velly rodiaw, megis ac y rrotiawdd yntef.

*plant
*ddadlewr, negeswr
‡cymmot
*eb

7 Vrodyr, nyd wyf yn yscrivenu vn * gorchymyn newydd atoch, eithyr gorchymyn hen, yr hwn y ‡ bu y chwi or dechreuat: yr hen 'orchymyn yw'r gair, yr hwn a glywsoch or dechreuat.

8 Trachefn, gorchymyn newydd ydd wyf yn ei scrivenu atoch, yr hyn 'sy yn wir yntho ef, ac yno chwithe hefyt: can ys y tywyllwch aeth heibio, a'r gwir 'olauni 'sy yr awrhon yn * llewychu.

9 Yr hwn a dywait y vot yn y golauni, ac yn casau eu vrawt, yn y tywyllwch y mae hyd y pryd hyn.

10 Yr hwn a gar ei vrawt, ys y yn aros yn y golauni, ac nyd oes ‡ achos cwymp ynthaw.

11 Eithyr hwn a gasao ey vrawt, yn y tywyllwch y mae, ac yn y tywyllwch y mae yn trodiaw, ac ny wyr y b'le y mae yn mynet, can ddarvot ir tywyllwch ddallu ei lygait.

12 Ha blant-bychain, ydd wyf yn scrivenu atoch, o bleit maddeu ychwi eich pechote er mwyn y Enw ef.

13 Scrivennu ydd wyf atoch, dadeu, can y chwi adnabot yr hwn ys ydd or dechreuat. Scrivennu ydd wyf ato-chwi, * wyr-ievainc, can ddarvot y chwi ‡ orchvygu y * Wall.

14 Scrivenny ydd wyf ato-chwi, ‡ yr ei bychain, can y chwi adnabot y Tat. Scrivennais atoch, tadeu, can y chwi adnabot yr hwn ys ydd o'r dechreuat. Scrivenais atochwi, wyr-ieuainc, can eich bot yn gedyrn, a' gair Duw ys ydd yn aros ynoch', a' gorchvygesoch y * Wall.

15 Na charwch y byt, na'r petheu ys ydd yn y byt. A char nep y byt, nyt yw cariat y Tat ynthaw.

16 Can ys pop peth ys ydd yn y byt (megis chwant y cnawt,

*dysc, athroeth
‡gawsoch
*tywynnu, dysclaerio
‡camwedd
*yr ei
‡orvot
*drwc
‡vechcynos blantys
*drwc

y cnawt, a' chwant y llygait, a' balchder y bywyt) nyd yw o'r Tat, eithyr o'r byt y mae.

> *yntef ganthe

17 A'r byt ys ydd yn mynet heibio, a'y chwant *ef: a' hwn a wna wyllys Duw, a erys yn dragywyth.

> ‡gwrthgrist *ys

18 Ha-blant-bychain, yr amser dywethaf ydiw hi, a' megis y clywsoch y delei yr ‡ Antichrist, * ac yr owrhon y mae Antichristieu lawer: wrth yr hyn y gwyddom mae'r amser dywethaf ydyw hi.

19 Oddywrthym ni ydd aethant wy allan, eithyr nyd oeddent o hanam ni: can ys pe besent o hanam, ys arosasent vvy gyd a ni. Eithyr hyn a dderyvv, val yr eglurit, nad ynt vvy oll o hanam ni.

> ‡wylment *cenych ‡wybuoch

20 Eithyr y mae ‡ y chwi * enneint oddywrth yr hwn ys y Sanctaidd, a' chvvi a ‡ wyddoch bop peth.

21 Nyd escribennais atoch', o bleit na wyddoch y gwirionedd: eithyr am y chwi ei hadnabot, ac am nad oes ‡ dim celwydd o'r gwirionedd.

> *vn neb ‡'sy

22 Pwy * yw'r celwyddawc, anyd yr hwn a wad may Iesu yw'r Christ? hwn yw'r Antichrist yr vn a wad y Tat a'r Map.

23 Pwy pynac a wad y Map, nyd yw y Tat gan hwnw chwaith.

> Triget

24 ‡ Aroset gan hynny yno-chwi yr hyn a glywsoch o'r dechreuat. A's erys ynoch yr hyn a glywsoch o'r dechreuat, chwithe hefyt a aroswch yn y Map, ac yn y Tat.

> *promissa promissoedd

25 A' hwn yw'r * addewit a addawodd ef y ni, 'sef bywyt tragywythawl.

26 Y petheu hyn a scribenais atoch, erwydd yr ei 'sy ich twyllo:

> ‡wylwent

27 Eithyr yr * enneint a dderbyniesoch y cantho

ef, ys

ef, ys y yn aros ynoch: ac nyd rait ychwi bot nep ich dyscu: eithyr mal eich dysco yr Enneint hwnnw am bop peth, ac y mae yn gywir, ac nyd yw yn gelwyddawc, ac megis ich dyscawdd, yr * arosswch ynthaw.

*'airswir
‡trigwch

28 Ac yr owyrhon blant-bychain, arosswch ynthaw, mal pan yr ymddangoso ef, y bo hyder genym, ac na chywilyddiom ger y bron ef yn ei ddyvodiat.

29 A's gwyddoch y vot ef yn gyfiawn, gwybyddwch may pwy pynac a wna gyfiawnder, y anet o hanaw ef.

## Pen. iij.

1 Dirfawr gariat Dew arnam, 7 A p'hwedd y dlyem ninew drachefn garu ei gylydd.

GWelwch, pa'r y gariat a * roes y Tat ‡ arnam, val in gelwit yn beibion Dew: o bleit hyn nyd edwyn y byt * chwi, can nad edwyn ‡ e efe.

*ddangoses
‡yni
*ni
‡o hano ef

2 A garedigion, yr owyrhon ydd ym ni beibion Dew, eithyr nyd ymddangosawdd eto pa beth byddwn: a'gwyddam pan ymddangoso ef, y byddwn gyffelip yddaw: can ys gwelwn ef megis ac y mae ef.

3 A' phop vn'sy ganthaw y gobaith hyn yntho ef, ei * purha y hun, megis ac y mae yntef yn bur.

4 Pwy pynac a wna bechot, y mae ef hefyt y ‡ gwneuthur

*glanha
‡Gr. poion 'anomian

*tor cyfraith
‡:oddi, perffeithio

neuthur ancyfraith :cans *ancyfraith yw pechot.
5 A' gwyddoch may ymddangos a wnaeth ef er ‡dileu yn pechotae ni,ac ynthaw ef nyd oes pechot
6 Pwy pynac 'sy'n aros yntho ef, ny phecha ef: pwy pynac a pecha, ny welawdd ddim o hanaw, ac ny's adnabu ef.
7 Blant bechain, na thwyllet nep chwi: yr hwn a wna gyfiawnder, ys y gyfiawn,megis y mae yntef yn gyfiawn.
8 Hwn a wna bechot, o ddiabol y mae: can ys diabol a becha or dechreu: *er mvvyn hyn yr ymddangosodd Map Dew,‡ val yd atdodei ef weithredoedd diabol.

*i, a bleit
‡er datdot

9 Pop vn a anet o Ddew, ny phecha: can ys y had ef ys ydd yn aros ynthaw, ac ny all ef bechu, can y eni ef o Ddew.
10 *yn hyn yr adwenir plant Dew, a' phlant diabol: pwy pynac ny wna gyfiawnder, nyd ef yw o Ddew, na'r hwn ny char ei vrawt.

*Ar

11 Can ys hyn yw'r genadwri, a glywsoch or dechreuat, bot y ni garu eu gylydd,
12 Nyd mal Cain yr hvvn oedd or ‡Uall, ac a ladodd ei vrawt: ac er mwyn pa beth y lladawdd ef vo? can bot y weithredoedd e yhun yn ddrwc, a'r ei ei vrawt yn dda.

‡Drwc

Yr Epistol yr ij. Sul gwedy yr Trintot.

13 Na ryveddwch,vy-broder,cyd casao y byt chwi.
14 Nyni a wyddom ddarvot ein ysmuto o varwolaeth y bywyt, can ein bot yn caru y broder: hwn ny charo ei vrawt, 'sy'n aros yn angeu.
15 Pwy pynac a gasao ei vrawt, * lladdwr-‡ dyn ydyw: a' gwyddoch nad oes i *vn lladwr-dyn bywyt

*llawryddiac,lleddiat
‡cela in
*nep.

wyt tragywythawl yn aros ynthaw.

16 Wrth hyn y ‡ gwybuom gariat, can yddo ef *ddodi ei ‡einioes drosom ni: a' ninheu a ddlem ddodi ein einioes dros ein broder.

17 A'phwy pynac y sy gantho *bywyt y byt hwn ac a wyl ei brawt ‡ mewn eisieu, ac a gayo ei *dostri oddywrthaw, p'wedd y trig cariat ar Ddew ynthaw?

18 Vy plant-bychain, na charwn ‡ ar'air, nac ar davot yn vnic, eithyr ar weithred a' gwirionedd.

19 Ac wrth hyn y gwyddam ein bot o'r gwirionedd, ac y bydd y ni gerr y bron ef *ddiogelu ein calonneu.

20 Can ys a's ein caloneu a'n *condemna, mwy yw Duw na'n caloneu, a c a wyr bop peth.

21 Carediglon, a's ein calon ni'n condemna, yno ymae ‡ y ni hyder *ar Dduw.

22 A'pha beth bynac a ‡ archom, ni ei derbyniwn gantho, can y ni gadw ei 'orchymynneu, a' gwneuthur y petheu ys y *boddlawn yn ei 'olwc.

23 Hwn gan hyny yw y'orchymyn ef, bot y ni gredu yn Enw ei Vap Iesu Christ, a' charu eu gylyd, mal y rroes ef 'orchymyn.

24 Can ys yr hwn a gadw y'orchymynion ef, a drig ynto ef, ac ynte ef yntho ef: ac wrth hyn y gwyddam y bot ef yn aros ynom, ys ef o'r Yspryt y roddes ef y ni.

‡dyellesam
*roddi
‡enaid, bywyt, hoedl
*'olud, dda
‡ac
*empyscaroedd
‡hyderuso
*barn, yn euoc, damna
‡cenym
*Gr. prós
‡obynom
*dda

## Pen. iiij.

1 Gohanieth ysprytion. 2 P'wedd yr adwaenir Yspryt Dew

*didro- xrac yspryt * cyfeilorn. 7 Am gariat Dew a'n cymydogion.

*treiwch | Caredigion, na chredwch bop yspryt, eithr * prowch yr ysprytion ai o Dduw ydd ynt: can's gau brophwyti lawer aethont allan ir byt. 2 Wrth hyn yr adwaynwch yspryt Dew: pop yspryt ‡ yn cofessu ddybot o Iesu christ yn-cnawd, ys ydd o Dduw.

‡ar a. &c.

3 A' phop yspryt ny chaffessa ddybot Iesu Christ yn-cnawt, nyd yw ef o Ddeo: eithr hwn yw yspryt Antichrist, am yr hwn y clywsoch son, y delei, ac ys ydd * yr owrhon yn y byt.

*eisus.

4 Blant bychain, ydd y chwi o Ddyw, ac y gorbuoch hwy: can ys mwy yw'r hwn ys ydd yno chwi, na'r hwn ys ydd yn y byt.

5 Wyntvvy o'r byt y maent, am hyny y ‡ llafarant am y byt, a'r byt eu * clyw.

‡ymadrodont. sonant am *gwrendy hwy

6 Nyni o Ddew ydd ym, yr hwn a edwyn Ddyw, a'n clyw ni: yr hwn nyd yw o Ddyw, ni'n ‡ clyw ni. Wrth hyn yr adwaynom yspryt y gwirionedd, ac yspryt y * cyfeilorni.

‡gwrendy *didro

7 Garedigion, carwn eu gylydd: can ys cariat o Ddyw ‡ yr hanyw, a' phop vn a gar, o Ddeo y ganet, ac a edwyn Ddyw.

*Yr Epistol y Sul cyntaf gwedy Trintot*

8 Yr hwn ny char, nyd edwyn e Ddyw: can ys * cariat yw Duw.

‡y daw, y mae *dyw. &c.

9 ‡ Yn hyn y may cariat Dyw yn ymddangos arnam ni, can y Ddyw ddanvon ei vnic-genedledic

‡Ar.

Wap-

Vap i'r byt, val y byddom byw trwyddaw ef.
10 Yn hyn y mae cariat, nyd am ddaruot y ni garu Duw, eithyr am yddaw ef ein caru ni, ac anvon ei Vap y vot yn * gyssiliat tros ein pechoteu. *gymbot
11 Caredigion, a's velly in carawdd Duw ni, a' nineu a ddylem garu eu gylydd.
12 Ny welawdd nep Dduw ‡erioed. A's carwn ni eu gylydd, y mae Duw yn trigio ynom, a'i gariat ys y perffeith ynom. ‡vn amser
13 Wrth hyn y gwyddom ein bot yn trigio yntho ef, ac yntef ynom ninau: can ddarvot yddo roddi y ni o'i yspryt ef.
14 A' nineu welsom, ac a destolaythwn, ddarvot ir Tat ddanvon y Map y vot yn Iachawdr y byt.
15 Pwy pynac a gyffeso bot Iesu yn Vap Duw, yntaw ef y may Duw yn trigio, ac yntef yn-Duw.
16 A' nyni a adnabuom, ac a gredasam y cariat ys y gan Dduw ‡ ynom ni. Duw * cariat yw, a'r hwn a drig yn-cariat, a drig yn-Duw, a' Duw yndo yntef. *arnam ‡'sy-
17 ‡ Yn hyn y * cwplëir y cariat ynom, val y bo ‡ y ni hyder yn-dydd y varn: can ys mal y may ef, ys velly ydd ym nineu yn y byt hwn. ‡Trwy, Cā *perffeithir ‡cenym
18 Nyd oes ofn yn-cariat, eithr perffeith gariat a vwrw allan ofn: o bleit y mae * i ofn poenedigeth: a hwn a ofna, nyd yw ‡ perffeith yn-cariat. *can, yn] ‡gwbl
19 Ydd ym ni yn y garu ef, can yddo ef ein caru ni yn gyntaf.
20 A's dywait nep, Mi a garaf Dduw, ac yn casau ei vrawt, celwyddawc yw: can ys * pa-delw y gall ef yr hwn ny char ei vrawt a welawd ef, garu Duw *p'odd p'wedd

ru Duw 'rhwn ny welawdd?

21 A'r gorchymyn hwn ys ydd y ni y cantho ef, bot y hwn a gar Dduw, garu ei vrawt hefyt.

## Pen. v.

1.10.13. Am ffrwytheu ffydd. 14.20. Swydd, awturtot, a' dywdap Christ. 21 Yn erbyn delwe̅u.

PWy pynac 'sy yn credu mae Iesu yw'r Christ, o Ddeo y ganet, a' phop vn 'sy yn y caru yr hwn a genedlodd, y car yntef hefyt yr hwn a genetlwyt o hano ef.

2 Yn hynn y gwyddom y carwn blant Dyw, pan ym yn caru Duw, ac yn cadw ei orchymynneu.

3 Can ys hwn yw cariat Duw bot y ni gadw ei 'orchymynneu: a'i 'orchmynneu nyd ynt trymion

*hyn
Yr Epistol y Sul cyntaf gwedy'r Pasc

4 Cans oll ar anet o Dduw, 'sy yn * gorchvygu'r byt, a' hon yw'r 'oruchafieth ys y yn goruchvygu'r byt, 'sef ein ffydd.

‡pop peth
*gorvot

5 Pwy 'sydd yn gorchvugu'r byt, anyd yr hwn 'sy yn credu may Iesu 'sy Vap Duw?

6 Hwn yw'r Iesu Christ y ddaeth ‡ trwy ddwfr a' gwaet, ny trwy ddwfr yn vnic, * amyn trwy ddwfr a gwaet: a'r yspryt yw'r hwn 'sy yn testio: can ys yr yspryt ysydd wirionedd.

‡can
*anyd

7 Can ys y mae tri, ys y yn testiolaethu yn y nef, y Tat, y Gair, a'r yspryt glan: a'r tri hyn vn ynt.

8 Ac y mae tri, ys y yn testiolaethu * yn y ddaiar, yr yspryt, a'r dwfr a'r gwaet: a'r tri hyn ‡ cytvn ynt.

*ar

9 A's testiolaeth dynion a dderbyniom, testoliaeth Dyw 'sy bwy: can ys hyn yw testiolaeth Dyw, y destiawdd ef am ei Vap.

10 Yr hwn a gred ym-Map Dyw, y may *iddo y testiolaeth yndo ehunan: hwn ny chred ‡y Dduw, y gwnaeth ef yn gelwyddoc, can na chredawdd y destiolaeth, a destiolaethodd Dyw am ei Vap.

*cantho
‡Ddevv

11 A'hon yw'r testiolaeth, 'sef darvot y Dduw roddi y ni bywyt tragyvythawl, a'r bywyt *hwn ys yd yn y Map.

*hyn

12 Hwn y mae y Map ‡ yddaw, y may y bywyt yddaw: a' hwn nyd yw yddaw Vap Dyw, nyd oes yddaw bywyt.

‡cantho

13 Y petheu hyn a scriuenais atoch, yr ei a gredwch yn Enw Map Dyw, mal y gwypoch bot ychwy bywyt tragyvythawl, ac mal y credoch yn Enw Map Dyw.

14 A' hyn yw'r *hyder, ys y genym yndo ef, can ys ad archwn ni ddim ‡ erwydd y wyllys ef, ef a'n clyw ni.

*ymddiried
‡ar ol, wrth

15 Ac a's gwyddom y bot ef yn ein clywet, pa beth pynac a *archom, gwydom bot y ni ein airch y archasam ‡arno.

*obynom
‡yddo

16 A's gwyl nep ei vrawt yn pechu pechot, ar nyd yvv *hyd angeu, archet, ac ef a ryd yddaw bywyt 'sef ir ei ny phechant yd angeu. Y mae pechot yd angeu: nyd wyf yn dywedyt *y dleyt-weddiaw drosto.

*Gr. pros ar, at, i, y
*val y gweddiyt

17 Pop ‡ ancyfiawnder pechot yw, ac y mae pechot 'rhvvn nyd yvv yd angeu.

‡enwiredd

18 Gwyddom mae pwy pynac a anet o Ddyw, na phecha: eithyr hwn a genetlwyt o Dduw, y caidw

*drwc

ehun, a'r *Vall ny chyfwrdd ac ef.

19 Gwyddom ein bot o Dduw, a'r oll vyt ys yn gorwedd yn-‡drigioni.

‡malldet, scelerder

20 A'ni wyddom ddyvot Map Duw, ac a roes y ni veddwl y adnabot yr hwn, ys y gywir ac ydd ym ni yn y cywir hwnw, 'sef yn y Map ef Iesu Christ: hwn yma'sy wir Dduw, a' bywyt tragythawl.

*airwir

21 Vy'rei-bychain, ymgedwch ywrth * eiddolon Amen.

*Gr. eidooloon .i. delwen

# Yr Ail Epistol i Ioan.

## Pen. j.

Scrivennu y mae ef at ryw Arglwyddes, 4 Gan lawenychu bot y phlant hi yn rhodio yn y gwirionedd, 5 Ai hannoc hwy i gariat, 7 Ei rhybudd y ymochelyd o ywrth gyfryw dwyllwyr ac a wadant ddyvot Iesu Christ yn-cnawt, 8 Y mae yn erbyn yddynt aros yn-dysceidaeth Christ. 10 Ac na bo ydwynt dim a wnelont a'r ei ny ducant gwir ddysc Christ Iesu ein Iachawdr.

*Prespyter

YR* Henafgwr at y ddetholedic Arglwyddes, a'i phlant, yr ein a garaf yn y gwirionedd: ac nyd mi vi yn unic, eithr yr oll'rei a adnabuont y gwirionedd,

2 Er mwyn y gwirionedd ys ydd yn

trigia

tragio ynom, ac a bydd y gyd a ni yn tragywyth.

3 Bit rat, gyd a chwi, trugaredd, a'thangnefyf *ywrth Ddyw Tat, ac o ddywrth yr Arglwydd Iesu Christ ‡ Map y Tat, y gyd gwirionedd a' chariat.

4 Llawen iawn vu genyf, gahel o honaf dy blant yn rodio yn-gwirionedd, val yd erbyniasam 'orchymyn gan y Tat.

5 A 'yr owrhon yr erbyniaf yt', Arglwyddes, (nyd mal vn yn yscrivennu gorchymyn newydd yty, eithr yr hwn oedd y ni or dechreuat) bot y ni garu eu gylydd.

6 A'hwn yw'r cariat, bot y ni rodio ar ol y 'orchymynion ef. Hwn yw'r gorchymyn, bot ychwy val y clywsoch or dechreu, rodio yntho.

7 Can ys llawer o twyllwyr a ddaethant y mevvn ir byt, yr ei ny chyffessant ddyvot Iesu Christ yn-cnawt. Yr hwn 'sy gyfryw, twyllwr yw ac Antichrist.

8 Edrychwch arnoch ych unain, na chollom y petheu, y wnaetham, eithyr val yd erbyniom lawn gyflog.

9 Pwy pynac a * drosedda ac nyd erys yn-dysceidaeth Christ, nyd oes Dyw ‡ ydaw. Yr hwn a erys yn-dysceidaeth Christ, y mae ydo y Tat a'r Map.

10 A's daw nep atoch, ac eb ddwyn y ddyscedaeth hon, na dderbyniwch ef ir tuy, ac na ‡ ddywedwch wrtho, * Hyn-pych-well.

11 Can ys yr hwn a dywet wrtho, Hynpych-well, ys y cyfrannoc oy weithredoedd drwc ef. Cyd bei cenyf lawer o betheu yw scrivennu atoch, er

*y gan
‡Gr. y Map
*adolwyn
*a dros y gyfraith
‡gantho
‡chyferchwch well ydo
*La. Aue

‡Gr. melan i, duy

hyny nyd scrivennvvn a phapyr ac ‡ inc: eithyr gobeitho ydd vvyf ddyvot atoch, ac ymadrodd genen yn-geu, mal y cyflawner ein llawenydd.

12 Y mae meibion dy ddetholedic chwaer ith anerch. Amen.

# Y trydydd Epistol i S. Joan.

## Pen. j.

3 Llawenychu y mae ef vot Gaius yn rhodio yn y gwirionedd, 8 Eu hannoc y mae y vot yn garuaidd wrth y Christianogion tlodion yn amser et hymlit, 9 Dangos y mae caredic waith Diotrephes, 12 A' gair da Demetrius.

YR Henafgwr at y caredic Gaius, yr hwn a garaf yn-gwirionedd,

2 Y caredic, ydd wyf yn damuno yn bennaf dy vot yn llwyddo ac yn dda'r byt arnat, mal y mae dy enait yn llwyddo.

3 Canys llawenhau a wneuthum yn vawr pan ddaeth dy vrodyr, a' thestiolaethu am y gwirionedd ys ydd ynot, mal ydd wyt yn rhodio yn-gwirionedd.

4 Nyd oes can yf lawenydd mwy na hyn, nid amgen, clywet bot vy meibion yn rhodio yn-gwirionedd.

5 Y caredic, ydd wyt yn gwneuthur yn ffyddlon beth bynac a wnai i'r brodyr, ac y * estronieit, *dieithreit
6 yr ei a destiolaythen am dy gariat gerbron yr Ecclesi. Yr ei a's hebryngy ‡ rhagddynt megis y gwedda erwydd Dyw, ys da y gwnai. ‡ymddaith, yw taith
7 Can ys er mwyn y Enw ef ydd aethant ymddaith, eb gymeryd dim gan y Cenedloedd.
8 Nyni a ddlyem gan hynny dderbyn y cyfryw rei, val y byddom * ganhorthwyr ir gwirionedd. *helpwyr
9 Scrivenais at yr Eccles: eithr Diotrephes yr hwn a gar bot yn blaenor yn y plith hwy, ny dderbyn ddim o hanom.
10 Erwydd paam a's dauaf, mi benagaf ei weithredoedd y mae e yn y wneuthur, gā ‡ siarad in herbyn a gairie drigionus, ac nyd yn boddlawn y hyny, ac nyd yw ef y hun yn derbyn y brodyr, eithr gohardd y mae yr ei a wyllysient, a'ei ‡ gwthio allan o'r Eccles. ‡ddadwrdd, glochdar ‡tably, bwrw
11 Vy-caredic, na * ddilyn yr hyn 'sy ddrwc, anyd yr hyn ysy dda: yr hwn a wna ddayoni, o Ddyw y may: a'r hwn a wna ddrygioni, ny weloð Dduw. *imiteris. i. ddanwered
12 Y mae y Ddemetrius 'airda gan bawp, a' chan y gwirionedd y hunan: a' nineu hefyt ein bnain ym yn testiolaethu, a' gwyddoch bot yn testiolaeth ni yn gywir.
13 Y mae * ymi lawer o betheu yw scrivenu: eithyr nyd ‡ a duy a' phin yr scrivennaf atat. *genyf ‡ac inc
14 Gobeitho ydd wyf gahel dy welet ar vyrder, ac y cavvn ymddiddan * eneu yn-geneu. *wyneb yn wyneb
15 Tangneddyf yty. Y mae dy geraint ith anerch. Anerch y cereint wrth y henwe.

Epistol

# Epistol cyffredinol Iudas.

## YR ARGVMENT.

Sanct Iudas ys ydd yn rhybuddio yr oll Ecclesydd yn gyffredinawl y ymogelyd rac twyllwyr yr ei 'sy a'i bryd ar dynnu caloneu'r popul seml y wrth wirionedd Dew, ac yn wyllysu na bo ydwynt *gymdeithas a'r cyfryw, yr ei y may efyn eu honny dan eu lliw a'i harwydd, gan ddangos trwy amrafael esemple o'r Scrythur 'lan pa horribl ddialedd a ddarparwyt yddwynt: yn y dywedd y mae ef yn diddanu'r ffyddlonion ac yn y hannoc hwy y aros yn-dysceidaeth Apostolion Iesu Christ.

*gyfeillach

## Pen. j.

*Yr Epistol ar ddydd Simon ac Iudas*

IUdas gwasanaethvvr Iesu Christ, a' brawt Iaco, at yr ei a 'alwyt ac a sancteiddiwyt y gan Ddyw Tat, ac ynt gatwedic i Iesu Christ:

2 Trugaredd ywch, a' thangnefdyf a' chariat a liosocer.

3 Vy-caredigion, pa rois vy-*cwbl ddiwydrwydd ar escrivenu atoch am yr iechydvvrieth cyfredinavvl, angenraid oedd y mi scrivenu atoch ich annoc, y * ymdrech-yn-ddirving ym-plait y ffydd, rhon a roed vnwaith ir Sainct.

*oll
‡ Gr. epagonizesthai .i. ymorchestu, ymdynnu

4 Can

4 Can ys y mae rryw ddynion wedy ymlusco y mewn yr ei oeddent gynt wedy rrac ordino ir varnedigeth hon: andywolion ytynt yr ei 'sy yn ymchwelyd rrat Dyw yn ddrythyllvvch, ac yn gwadu Dyw yr Arglwydd unic, a'n hArglwydd Iesu Christ.

5 Wollysio gan hynny ydd wyf ych coffau, yn gymeint ac ychwy unwaith wybot hyn, p'wedd y bu ir Arglwydd, gwedy darvot iddo waredu y bopul allan o'r Aipht, destruo * gwedy hyny yr ei ny chredent.

6 Yr Angelon hefyt yr ei ny chatwasant eu dechreuat cyntaf, eithyr gadael eu ‡ preswylfa * y hun, ef eu catwodd ‡ yn-catwynae tragywythal y dan dywyllwch * yd barn y dydd mawr.

7 Megis Sodoma a' Gomorrha, a'r dinasoedd oi hamgylch, yr ei yn gyffelip bodd ac wyntwy a wnaethant 'odinep, ac a ‡ ddilynesont gnawt * arall, a 'osodwyt yn esempl, ac yn dyoddef * dialedd tan tragywythawl.

8 Yn gyffelip ‡ hagen y mae hefyt y breuddwydwyr hyn yn halogi'r cnawt, ac yn * tremygu llywodraeth, ac yn cablu ‡ yr ei-'sy mewn-awdurtot]

9 Eithyr Mihacael yr Archangel; pan ymrysonawdd ef yn erbyn diavol, ac ymddadleu * am corph Moysen, ny veiddiawdd y veio ef a ‡ chableu, anyd dywedyt, Ceryddit yr Arglwydd di.

10 Eithyr yr hein a gablant y petheu ny wyddant: a'pha bethau bynac a wyddant yn * anianawl, megis anifeiliet, ys y yn ddiresswm, yn y pethcu hyny yr ymlygrant.

11 Gwae hwyntvvy: can ys ‡ cerddesont yn ffordd

Cain,

*allwaith; drachefn
‡trigfa
*brawt
‡mewn
*i, ir
‡Gr. aethant ar ol
*estron, dieithr
*poen
‡er hyny
*Gr. gwrthod Arglwyddiaeth
‡Gr. doxas
*ynghylch, o bleit
‡senn
*naturiol
‡dilynesont

Cain, ac eu * trosgwyddwyt can dwylliat cyfloc Balaam, ac eu cyfercollwyt yn-gwrth ddywediat Core.

12 Yr-ei-hyn ynt brycheu yn eich cariatvvleddoedd pan vont yn cydwledda a chvvi, yn ddiofn, yn eu ‡ pescy y hunain: * wybrennae ynt diddwfr, wedy eu cylcharwein gan wyntoedd, prenneu ‡ llygredic eb ffrwyth, ddwywaith yn veirwon, ac wedy eu diwreiddio.

13 Tonneu * cynddeiriog y mor ydynt, yn ‡ ewynnu allan eu * cywilydd y hunain: ser ‡ gwibioc, ir ei y catwyt * duedd y tywyllwch yn dragywyth.

14 Ac Enoch hefyt y seithfet o Adda, a prophwytawdd am y cyfryw'rei, can ddywedyt, Wele, yr Arglwydd'sy yn dyvot gyd a ‡ myrddion o ei saincte,

15 I roi barn yn erbyn pawp, ac y argyweddu yr oll andewolion yn y plith hwy am eu holl andewiol weithredoedd, yr ei a wnaethant wy yn andewiol, ac am eu holl ymadroddion * calet yr ei a dywedei pechaturieit andewiol yn eu herbyn.

16 Yr ei hyn ynt ‡ murmurwyr, achwynwyr,'rei yn * cerddet yn ol y chwanteu y hunain: yr ei a dywait eu geneu ‡ balch-betheu, yn * rryveddu personae dynion, o ‡ bleit caffaeliat.

17 Eithyr, garedigion, cofiwch y gairieu y ragddywetpwyt y gan Apostolieit Iesu Christ,

18 Can ddyntvvy dywedyt ywch' y byddei gwatworwyr yn yr amser dywethaf, yr ei a gerddent yn ol eu andewiol chwanteu eu hunain.

19 Yr hein ynt y sawl a ymohanant,* cnawdolion, eb vot yr Yspryt ganthynt.

*bwrlwyt ymaith
‡porthi,
*cymyleu
‡gwywon, crinion
*creulon
‡tarddu
*gwarth, gwradwydd, mefl, anhar ddwch
‡Gr. planetae
*duder, gwrwmder
‡milioedd
*creulon, ffyrnic
‡grwgnachwyr, grwythwyr
*rrodio
‡gorsythdra, dynder
*mawrygu
‡er mwyn mantes
*Gr. psychicoi

20 Eithr.

20 Eithr, chvvychwi garedigion, ymadeiladwch yn eich sancteiddiaf ffydd, gan weddiaw yn yr Yspryt glan,

21 Ac ymgadwch yn-cariat Dyw, gan ‡ edrych am drugaredd Iesu Christ, y bywyt tragyvythawl.

22 A' thrugarhewch wrth 'rei, gan * amrafael-barnu,

23 A' eraill cadwch ac ofn, gan eu tynnu allan o'r tan, a' chasau ys y wisc ‡ vrychedicy gan y cnawt.

24 Ac i hwn a ddygon eich cadw, yn * ddigwymp, ach ‡ gosot yn ddiveius yn-gwydd ei 'ogoniant trwy * 'orvoledd,

25 Ys ef, y Ddyw yr unic ddoeth, ein Iachawdur y bo gogoniant a' mawrygrwydd, ac arglwydiaeth, a' ‡ meddiant, ys yr owrhon ac yn * oll oesoedd, Amen.

‡ ddysgwyl wrth

* Gr. diacrinomeni

‡ vrycheulyd, vannedic

* Gr. aptaistous 'sef yn dibechot

‡ presento, gosstatu

* lawenydd

‡ gallu, awdurdot

* 'sef tragwyddol.

# Gweledigeth Joany ‡ Divinydd.

*Atcuddiat

‡ſef yr ym adrodd wr am Dduw.

## YR ARGUMENT.

EGlaer yw, y mynneſ'r Yſpryt glan megis caſclu ir llyfer rhagorol hwn * grynodep y prophetolaethe hyny, yr ei a racſcrivenesit, eithyr a gyflawnit gwedy dyvodiat Chriſt, can angwanegu hefyt cyfryw bethey ac vyddei raidiol, yn gyſtal in rhac rybuddiaw am beryclen a ddelent, ac in rhybuddiaw y'ochelyd rrei, ac in cyſirio yn erbyn eraill. Yma gan hyny yr eglurir ‡Diuiniti Chriſt, a' theſtiolaethen ein prynedigeth: pa bethen 'sy cymradwy gan Yſpryt Dew yn y * miniſtreit, a' pha bethe 'sy ancymradwy ganto: rhac weledigeth Dew yw ddetholedigion, ac am y gogoniant a'r diddanwch yn y dydd dial.: p'wedd y deſtruwer yr ‡hypocriteit yr ei a * brathant mal ſcorpionae aelodae Chriſt, eithyr yr Den Chriſt y amddeffen yr ei a dducant teſtoliaeth y gyd a'r gwirionedd, yr hwn er anvodd y beſtvil a' Satan a deyrnasa ar oll. Bywiol ‡ yscythrat Antichriſt wedy arddangos, yr hwn er hyny a dervynir ei amſer a'i veddiant, a' chyd dyoddefir y gynddaredd ef yn erbyn yd etholegion, er hyny ny chyredd y veddiant ef ym-pellach na drugu y cyrph hwy: ac or dywedd y diwiſtrir ef can * lit Dyw, pan vydd ir etholedigion roi moliant y Ddyw am y ‡ vuddygoliaeth, ac er hyny tros amſer ef a ddyoddef Dyw yr Antichriſt hwn, a'r putain y dan liw ymadrodd tec a' dyſceidaeth voddlonus y hudo'r byt: am hynny y mae ef yn cygori'r ei dywiol (yr ei nyd ynt anyd rhan bach) ymochelyd rhac gweniaith y budroc hon, ai molach, a' hwy a gant welet ei * hadvail yn ddidrugaredd, a'r compeini nefawl

*ſum, ſwm ſwmp

‡dywdab

*gwenidogiö ecclesic

‡gauſaiuct
*gnoant

‡eb ddiolch
*ddoſparth

‡ddigofain, ſoriant
‡orchafi-eth, gorvot

*chwymp

fawl yn canu moliauneu yn ‡ ddisdaw: can ys yr Oen 'sy we- dy ei briodi: a' gair Dew * aeth a'r oruchafiaeth: Satan yr hwn yn hir o amser oedd wedy ellyng yn rhydd, ys y yr owr- hon wedy ei dafly ef a'i weinidogion ir pytew tan yw po- eni yn tragybythawl, ‡ lle yn-gwrthwynep i hyny y ffyddlo- nion (yr ei ynt sanctaidd ddinas Caerusalem, a' * gwraic yr Oen) y bydd yddwynt feddiannu gogoniant tragybythawl. Darllenwch yn ddiyscaelus, barnwch yn bwylloc, a' galwch yn ddifrifol am wir ddyall y pethau hyn.

‡ eb dor
* a'orvu

‡ ac
* priavvd

## Pen. j.

1 Achos y * weledigeth hon. 3 Am yr ei a'i darllenant. 4 Ioan yn scrivennu at y saith Eccles. 5 Mawredigrwydd a' swydd Map Dew. 20 Gweledigeth y canwyll‡breni a'r ser.

* datguddiat hyn
‡ heirni

GWeledigaeth Iesu Christ, yr hon y troedd Dyw yddo ef, yw ddangos yddy wasanaethwyr ‡ yrein y orbydd yn fuan ddyfod y ben: ac ef y ddaionoedd, ac y ddangosoedd gan y angel yddy wasanaethwr Ioan,

2 Yr hwn y dystolaethoedd * o eir Dyw, ac o dystolaeth Iesu Christ, ac o pob peth ar y weloedd ef.

* Datcuddiat yw air yn ei gylys
‡ y petheu

*T.H.C.M. a translatoedd oll text yr Apocalypsis yn iceith ei wlat.*

* am

‡Dedwyd, Gwynbydedic
*hwn, vn

3 Happys yw'r * neb y ddarlleo, ar rrei y wrandawāt geirie y brophodolaeth hon, ac y cadwant y pethe ysydd yn escrivenedic yndi: cans y maer amser gar llaw.

‡at y.ec.
*'sy ar ddyvot
‡eisteddfa

4 Joan, ‡ yr seith Eglwys ar ydynt yn Asia, Rrad vo gyd a chwi, a' hedwch oddiwrth yr Hwn ys ydd, yr Hwn vu, a'r Hwn * bydd rrac llaw, ac oddiwrth y seith Ysbryd y rrei ydynt gair bron y ‡ dron ef,

*a'r
‡cenedledigeth

5 Ac oddiwrth Jesu Christ, yr hwn ys ydd tyst ffyddlawn, *yr ‡ enedigaeth cynta or meirw, a Thywysog ddyvvch brenhinoedd y ddaear, yddo ef yn caroedd ni, ac yn golchoedd ni oddiwrth yn pechode yny waed, yhun;

‡O

6 Ac yn gwnaeth yn Vrēhinoed ac yn ‡ Offeiriеid y Ddyw y dad ef, *yddo ef y bo gogoniant ac ymherodraeth yn oes oesoedd. Amen.

‡Wely
*wybreneu
‡gwanasōt
*ger y vron ef
‡llwytheu
*chyfranwr
‡trwbleth

7 ‡Dyna, y may ef yn dyvod gydar *nywl, a' phob llugad ae gwyl ef, ar rrei hefyd y ‡ brathasant ef tryvvodd: ac wylovain y wnant * arno ef holl ‡ ceneloedd y daear, Velly y mae, Amen.

8 Mi wyf α Alpha ω Omega, y dechre a'r diwed, med yr Arglwydd, yr Hwn y sydd, a'r Hwn vu, ac yr Hvvn ddaw rrac llavv, 'sef yr hollalluawc.

9 Mi Joan, ych brawd chwi, a * chydynaith mewn ‡ cospedigaeth, ac yn y deyrnas ac mewn goddefaint Jesu Christ, oeddwn mewn ynys a elwir Patmos am'eir Dyw, ac am dystolaeth yr Jesu Christ.

*Sul
‡y tu cefn, yn vy ol

10 Yr oyddwn yn yr yspryd yn dydd yr * Arglwydd, ac y glyweis ‡ rrac vyngefen, lleis mawr, mal

lleis

godineby a deiled y ddayar gwedy meddwi ‡ a gwin y godineb hi.

3 Ac ef ym dygoedd yn yr yspryd yr diffeith, ac mi weleis gwreic yn eistedd ar* enifel vn lliw ‡ ar scarlla, yn llawn o enwey * enllibiys, a seith pen gantho a dec corn.

4 A gwisc y wreic oedd ‡ pworpwl, a' scarlla, a goreyred ac aur, a mein gwerthfor, a' pherle, a chwppan aur oedd ganthi yny llaw, yn llawn o ‡ wrthweyneb a * brynti y godineb hi.

5 Ac yny thalcen yrydoedd enw yn escrifenedic, Dirgelwch, Babylon vawr, mam pytteindra, a gwrthweynebe yr ddayar.

6 Ac mi weleis y wreic yn beddw gan waed y Seint, a' chan waed Merthyron Iesu: a' phan y gweleis hi, mi rryveddeis * a' rryvedd mawr:

7 Ar angel y ddwad wrthyf, Pa ham yrwydd yn rryfeddu? mi dangosaf yt dirgelwch y wreic, a'r ‡ enifel ysyd yny dwyn hi, yr hwn ysydd a seith pen gantho, a dec corn.

8 * Yr enifel y weleist, y bu, ac nyd ydiw, ac ef y ‡ ddaw y vynydd or pwll heb waylod, ac ef eiff y * ddinystraeth, a' deiled y ddayar, y rryfeddant (enwey y rrein nyd ynt yn escribennedic mewn Llyfr y bowyd er dechrey'r bud) pan edrychant ar yr enifel yr hwn ydoedd, ac nyd ydiw, ac eto y mae.

9 Ll'yma'r meddwl ysydd a doethinep gantho. Y seith pen seith mynydd ydynt, ac yrrein 'ymaer wreic yn eiste, ymaent hebyd yn seith Brenin.

10 Pymp y syrthioedd, ac vn ysydd, ac arall ysydd heb ddyfod etto: a' phan y ddel ef, rreid yddo par-

‡ar win
*bestvil
‡ac yscarlat
*cablae
‡purpur
‡ffieid bethen
*aflendit
‡yn arvthrol, yn ddirvawr
*bestfil
‡y bestfil
* gyfergoll golledigeth

hay ychydic o amser.

11 A'r * enifel yr hwn y ‡ vu, ac nyd ydiw, ys efe yw'r wythfed, ac y mae yn vn o'r seith, ac ef eiff y diny-straeth.

12 A'r dec corn y weleist, dec Brenin ydynt, y'rein ny chawsont etto vrenhiniaeth, ond hwy gant gallu mal Brenhinoedd mewn vn awr gydar enifel.

13 Y'rein ysydd ar vn meddwl ganthynt, ac hwy roddant ey gallu, ae awdyrdod ‡ y'r enifel.

14 Y'rein y ymladdant ar Oen, a'r Oen y gorch-fyga hwynt: cans ef ydiw Arglwydd arglwyddi, a Brenin brenhinoedd, a'r rrey ysydd ar y † tu ac ef, ‡ hwy a elwid ac y ddetholwyd, a' ffyddlawn ynt.

15 Ac ef y ddwad wrthyf, Y dyfroedd y weleist, lle mae'r bytten yn eiste, pobl ydynt, a' thyrfae, a nasioney, ac * ieithioedd.

16 A'r dec corn y weleist ti ar y'r enifel, y'rei ydynt y gasha y buttein, ac y gwna hi yn vnic ac yn ‡ hoeth, ac hwy y vwyttant y chig, ac y llosgant hi a than.

17 Cans Dyw * rroedd yny caloney y gyflawni y ewyllys ef, ac y wneithur trwy gyfvndeb, ac y roi y teirnas y'r enifel, hed yn gyflewnir 'eiriey Dyw.

18 A'r wreic y weleist, y ‡ gaer vawr idiw, y'r hon y sydd yn teirnasu ar Brenhinoedd y ddayar.

* bestfil
‡ erat. i. oedd
* fr bestvil
† du, blaid
‡ galwedigion ac etholedigion a' ffyddlolonion
* tavodeu
‡ noeth
* a roes, a ddodoedd
‡ dinas

## Pen. xviij.

3. 9 Bot * cariadae y byt yn drilion am gwymp y putein o Babylon 4 Rhybudd y bopul Ddew y gilio allan oi ‡ chyvoeth

* y rei sy yn caru'r byt

‡ chyvoeth hi. 20 Ethyw yr e'sy o Ddew, y lyd ac achos yddynt y lawenechu am y dinistr hi.

‡arglwyddieth

AC yn ol hyn, mi weleis Angel arall yn *dyfod y lawr o'r nef, a' gallu mawr ganto, a ‡ goleyo wnaeth y ddayar gan y 'ogoniant ef.

*descen
†llewychu

2 A llefen y wnaeth ef yn *rrymys a lleis ywchel, dan ddwedyd, ‡E syrthioedd, ef syrthioedd, Babylon y gaer vawr hono, ac *y mae hi yn ‡drigadle y'r cythreiled, a'chadwraeth pob ysbryd aflan, a *nyth pob ederyn aflan ‡cas.

*gadarn, gryf, groch
‡Neur
*hi aeth.
‡drigfan
*custodia cadwrieth
‡a dygasoc

3 Cans y'r holl nasioney y yfasont o win digofent y godineb hi, a Brenhinoedd y ddayar y wneythont odineb ynghyd a hi, a marsiantwyr y ddayar eithont yn gyfothogion gan amylder y moythe hi.

4 Ac mi glyweis lleis arall o'r nef yn dwedyd, Ewch allan o * hi bympobl, rrac ywch bod yn gygyfranawl oe phechodey, ac rrac ywch dderbyn gyfran oe phlae hi.

*hanes
‡ney cael

5 Can ys y phechodey hi y ddeythont y bynydd hed y nef, a' Dyw y gofioedd y enwiredd hi.

6 *Telwch yddi mal y taloedd hi y chwi, a'rrowch yddi yn ddoy ddyblic yn ol y gweithredoedd hi: ac yny cwppan y lanwoedd hi y chwi, llenwch yddi hi ‡y ddoy ddyblic.

* Gobrwywch hi mal y gobrwyoedd hi chwi.
‡ddau cymint

7 Yn gymeint ac y gogonianoedd hi y hun, ac byw mewn moythe, yn yr vn * modd rrowch yddi poen a ‡thrymder: cans y mae hi yn dwedyd yny

*veine
‡thristwch, girad

chalon, yr wyf yn eiste yn urenhines, ac y nyd wyf yn weddw, ac ny welaf dim *wylofent:

8 Am hyny yn yr vn dydd y ddaw y phlae hi, 'sef myrfolaeth, a thristwch, a' newyn, a' hi losgir a than: cans cadarn ydywr Arglwydd Dduw, yr hwn y ‡ barna hi.

9 A' brenhinoedd y ddayar y *ochant amdeni, ac y cwynāt hi, y rrein y wneithont godineb, ac y buont byw yn voythys ynghyd a hi, pan gwelant mwg ‡ y *thanllwyth hi,

10 Ac hwy safant ymhell oddiwrthi gan ofn y phoen hi, dan ddwedyd, Gwae ni, gwae ni, y gaer vawr hono Babylon, y gaer gadarn: can ys mewn vn awr y ddoeth dy varn di.

11 A' marsiantwyr y ddayar y wylant ac y cwynāt *ddywch y phen: can ys ny does neb yn prymy y gwar hwy ‡ mwy navvr.

12 Marsiandiaeth o aur ac ariā, a' maen gwerthfawr, a pherle, a' ‡lliein-mein, a' phwrpul, a' sidan, ac scarlla, a phop rryw o goed *thyin, ac o bob llestr o ‡ ascwrn morfil, a' phop llestr o * goed gwerthvawrocaf, ac o ‡ bres, ac o hayarn, ac o vaen * mynor,

13 Ac o * sinamon, ac erogley, ac * ireyd, a' ‡ ffrankynsens, a' gwin, ac *olew, a ‡ chan man, a' gwenith, ac * enifeilied, a' defeid, a' ‡ chyphyle, a' siaredey, a gwasnaethwyr, ac eneidiey dynion.

14 (A'r avaley y drachwenychoedd dy eneid ti, ymadawsant a thi, ac holl pethey *breision, a gwychion aethant ffwrdd oddiwrthit, ac ny chey gyhyvvrdd ac hwynt mwyach)

15 Mar-

*'alar, cwynvan, cwynofain
‡damna
*wylan
‡chenneu, llosciat, phothiat
*Och och
*uch
‡rrac llaw
‡bysśi
*scarlet
‡Gr. elephātinon .i. ddaint yr elephant
*bren
‡elydn
* marmore
‡ canel
*wylment
‡thus
*oyl, yyl
‡phellied, Mwr
*yscrublieit
‡meirch
*cewion
‡Gr. lampra .i. claer, dysclaer, rhagorawl

15 Marsiantwyr y pethey hyn yrrein ymgofoythogasant, y safant ymhell oddiwrthi hi, rrac ofn y phoyn hi, yn wylo ac yn ochein,

16 Ac yn dwedyd,* Gwae ni, gwae ni, y gaer vawr hono, y ddillattawyd mewn llien mein, a'phwrpul, ac ‡ scarlla, a' chwedy goreyro ac aur, a maen gwerthfawr, a pherleu:

17 Cans mewn vnawr y cyfoeth * mawr y ddiffeith ‡ oedd. A phob * llonglywydd, ar holl pobl ysyð yn ‡ occopio llongey, ar llongwyr, ar sawl bynac ydynt yn trafaylu ar y mor, y safant ymhell,

18 Ac y lefant, pan gwelant mwg y * thanllwyth hi, dan ddwedyd, Pa'ry gaer oedd debic yr gaer vawr hon?

19 Ac hwy vwrant ‡ ddwst ar y penney, ac y lefant dan wylo, ac ochein, a dwedyd, Gwae, gwae, y gaer vawr, yn yr hon y cyvothogwyt oedd a llōgey gātynt ar y mor, trwy y * chost hi: cans mewn vn awr hi ddiffeithwyd.

20 Y nef, llawēha arnei, ar ebostolion santeið, a'r prophwydi: cans Dyw ‡ y roeð ych barn chwi erni.

21 Ac yno vn Angel cadarn y * gwnoedd maen megis maen melin, ac y bwroedd yr mor, dan ðwedyd, Ar vath ‡ rrym hyn y bwrir y gaer vawr Babylon, ac ny cheir hi mwyach.

22 Ac ny chlywir, yno ti mwy lleis telynorion, a' *chantorieð, a' phibyðion, a' thrwmpedyddion, ac ny ‡ chyhwrddir ac vn crefftwr, pa grefft bynac vo ynoti mwy, ac ny chlywir ‡ lleis maen melin ynoti mwy.

23 Ac ny welir * 'oleyni canwyll ynoti mwy: ac ny

*Och, Wban
‡scarlat
*cymeint
‡-iwyt, aeth yn ddiffaith
*perchen-long
‡trino
*chenneu, phoethfa
‡llwch
*Gr. timiotes. i. gwerth, gwerthvawredd
‡a roes, sef ych dialodd
*gymerth, gododd vaē
‡wth, yrr
*cherdorið
‡cheffir
*twrwf, sain
‡llever, llewych, 'oleuad

ny chlywir lleis priodasvab a phriodasverch ynot i mwy: can ys dy varsiandwyr di oeddent * ben-devigion y ddayar: ac ath ‡cyfareddion y twyllwyd yr holl nasioney.

24 Ac yndy hi y ‡gafad cyvvrdd a gwaed y proffwydi, a'r Seint, a phawb ar y las * yny ddayar.

*wyr mawr

‡rinie, swynion, sybelwenweith, wiscrefft

‡caffat

*ar

## Pen. xix.

1 Rol moliant y Ddew am varnu'r putein, ac am ddial gwaed ei weision. 10 Ny bynn yr Angel ei addoli. 17 * Galw'r ehediait a'r adar ir lladdfa.

*mawr

A Cyn ol hyn, mi glyweis lleis* ywchel gan dyrfa vawr yny nef, yn dwedyd, Hallelu-iah, iechyd a' gogoniant, ac anrrydedd, a' gallu y vo yr Arglwydd yn Dyw ni.

2 Cans cywir a' chyfiawn ydynt y barney ef: cans ef y barnoedd y byttein vawr, yr hon y lygroedd y ddayar ae godineb, ac y ddialoedd gwaed y weison y gollvvyd gan y llaw hi.

3 Ac eilwaith hwy ddwedasant, Hallelu-iah: ac y mwg hi y ‡dyrchafoedd yn dragywydd.

‡escennodd, gododd

4 Ar pedwar ar ygen o henafied, ar pedwar enifel y syrthiasant y lavvr, ac addolasant Ddyw, oedd yn eistedd ar yr eisteddle, dan ddwedyd, Amen, Hallelu-iah:

5 A' lleis y ddoeth allan o'r eisteddle, yn dwedyd, Molianwch yn Dyw ni, y holl weision, ac rrei ydych

dych yny oesi ef bychein a' mawrion.

6 Ac mi glywais lleis mal tyrfa vawr, a' mal lleis llawer o ddyfroedd, ac mal lleis taraney cedyrn, yn dwedyd, Hallelu-iah: can ys yn Arglwydd Ddyw hollalluawc a deyrnasoedd.

7 Gwnawn yn llawen a llawenychwn, a' rroddwn gogoniant ydd o ef: achos dyfod priodas yr Oen, ae wreic ef y ymbarattoedd.

8 A' chanattay y wneithpwyd ydi, ymwisco a *llien-mein ‡ pur, a' dysclaer: can ys y llien-mein ydiw cyfiawnder y Saint.

9 Ac ef y ddwad wrthyf, Escribenna, Bendigedic ynt y rrei y elwyr y * wledd priodas yr Oen. Ac ef y ddwad wrthyf, Y geiriey hyn y Ddyw ydynt gywir.

10 Ac mi syrthieis gair bron y draed ef, y addoli ef: ac ef y ddwad wrthyf, *Gwyl rrac gwneythur hyny: yr wyfi yn gydwasnaethwr a thi, ac vn oth brodyr, ysydd gantynt testolaeth y Iesu, addola Ddyw: can ys tustolaeth y Iesu ydiw ysbryd y bryffodolaeth.

11 Ac mi weleis y nef yn agored, a' syna march gwyn, ac vn y eisteddoedd arno, y elwid, Ffyddlawn a' chowir, ac y mae ef yn barny ac yn ymladd yn gyfiawnder.

12 Ae lygeid ef oeddent mal flam dan, ac ‡ ar y ben ef oeddent llawer o * gorraney: ac yr ydoedd gantho enw yn escrifenedic, yr hwn ny ‡ adnaby neb ond ef y hun.

13 Ac ef y ddillattawd a gwisc gwedy *taro mewn gwaed, ae enw ef y elwir GAIR DYW.

14 A'r

*bysso
‡'lan
*swper
‡Ymogel, ymochel, gogel
‡am
*daleithiew
*wyddlat
‡throchi

14 A'r llyeddvvyr oeddeint yny nef, y ddilinasont ef ar veirch gwnion, gwedy ymwisco a llien-mein gwyn ‡glan.

15 Ac o y eney ef yr aeth allan cleddey llym, y*daro ac ef, yr ‡cenedloedd: canys ef y rriola hwynt a gwialen hayarn, *ac ef yw yr hwn y sydd yn sathry y ‡ winwasc *ddigofeint, a' llid Dyw hollalluawc.

16 Ac y mae gantho ‡yny wisc, ac ar y vorddwyd enw escrivenedic, BRENHJN Y BRENHJNOEDD, AC ARGLWYDD YR ARGLWYDDJ.

a' phur.
*y ladd
*cans, o bleit,
‡pwll gwin y winsa
*cynddaredd
‡ar

17 Ac mi weleis Angel yn sefyll yny'r haul, ac yn llefen a lleis yvchel, dan ddwedyd wrth yr holl adar oedent yn * hedec trwy ganol y nef, Dowch, ac ymgynyllwch ynghyd at ‡swper y Dyw mawr,

*hedfan

18 Mal y galloch vwytta cig Brenhinoedd, a' chig pen captenied, a chig gvvyr cedyrn a' chig meirch, a'r rrei ydynt yn eiste arnynt, a chig gvvyr ryddion a'r ceithon, a' bychein a' mawrion.

16 Ac mi weleis yr *enifel, a brenhinoedd y ddayar, ae rryfelwyr gwedy ymgynyll yn ghyd y ryfely yny erbyn ef, oedd yn eiste ar y march ac yn erbyn y vilwyr.

*bwystvil

20 Ond yr ‡ enifel y ddalwyd, a'r prophwyd fallt ynghyd ac ef yr hwn y wnaeth gwrthiey gair y vron ef, trwyr rrein y siomoedd ef hwynt y dderbynasant nod ‡ yr enifel, a'r rrei addolasant y ddelw ef, y ddoy* yma y bwriwyd yn vyw yr pwll tan yn llosgi a brymstan.

‡bestfil
‡y bestfil
*hyn

21 A'* rely wy y las a chleddey'r vn ys y dd yn eistedd

*lleill

ar y

ar y march, yr hwn gleddey 'sy yn dyfot allan oe eney, ar holl adar y lenwid yn llawn oe cic hwy.

## Pen. xx.

2 Bot Satan yn rhwym dros dalm o amser, 7 Ac wedy ei ellwng yn rhydd, yn poeni yr Eccles yn athrwm 10. 14 Ac yn ol hyny barnu'r byd, y dwrwr ef a'r ei y ddaw ir pwll tan.

ACmi weleis Angel yn discin or nef, a'chanto * agoriad y pwll heb waylod, a' chadwyn vawr yny law. *allwydd

2 Ac ef y ddalioedd y ddreic yr hen sarff hono, yr hwn ydiw'r ‡ cythrel, a Satan, ac y rrwymoedd ef dros vil o blynyddoedd, ‡diawol

3 Ac y bwrioedd ef yr pwll heb waylod, ac y goarchaeodd ef, ac y seloedd y drvvs arno, megis na alley siomi'r bobl mwyach, nes cyflewni'r mil o blynyddey: can ys yn ol hyny rreid yw y ellwng ef dros ychydic o ‡ amser.

4 Ac mi weleis eisteddleoedd: ac hwy eisteddasant arnynt, a' barn y rroed yddynt hwy, ac mi vvelais eneidiey y rrei, y * dorrwyd y peney am dystolaeth Jesu, ac am eir Dyw, a'r rrei nyd addolasant yr ‡ enifel, nac y ddelw, ac ny chymersont y ‡ nod ef ar y talceney, ney ar y dwylaw: ac hwy vyont vyw, ac y deyrnasasant gyd a Christ mil o vlynyddey. ‡enbyd *las ‡bestfil

5 Ond y gweddil or gwyr meirw ny ‡ vyont vyw eilweith, nes diweddy y mil blynyddey: hwn ydiwr cyfodiad ‡'sef bydda

cyfodiadigeth cyntaf o'r meirvv.

6 Bendigedic a santeidd yvvr vn, ysydd a rran ydo yny cyfodiadigeth cyntaf: can ys nyd oes gan yr eil * myrfolaeth veddiant ar ‡ y cyfryvv rei: ond hwy vydant yn offeiriey Dyw a'Christ, ac y deirnasant gyd ac ef mil o vlynyddey.

7 A' gwedy darfod y mil blynyddey, Satan y ellingyr allan oe garchar,

8 Ac ef eiff allan y dwyllaw'r bobl, yrrein ydynt ymhedwar ban y ddayar: nid amgen Gog a' Magog, y gasclu hwynt ynghyd y ryfel, rrif y rrein 'sydd mal * tywod y mor,

9 Ac hwy ‡ ddrychafasant y wastad y ddayar, yrrein ymgylchynesont * pebyll y Saint, a'r dinas caredic: eithyr tan y ddiscynoedd oddiwrth Ddyw or nef, ac y ‡ llyncoedd hwynt.

10 * A'r cythrel yr vn y twylloed hwynt, y bwrwd y pwll o dan a' brymstan, lle poenir ‡ yr enifel, a'r proffwyd * ffalst dydd a' nos yn dragowydd.

11 Ac mi weleis eisteddle mawr gwyn, ac vn yn eistedd arno, oddiwrth ‡ olwc yr hwn y * ffoedd y dayar a'r nef, ac ny chafad oe lle hwy mwyach.

12 Ac mi weleis y meirw, mawrion a' bychein yn sefyll gair bron Dyw: a'r llyfre agorwyd, a' llyfr arall agorwyd, yr hwn ydiw llyfr y bowyd, a'r meirw y barnwyd wrth y pethey oeddent yn escrivenedic yny llyfre, yn ol y gweithredoed hwynt.

13 A'r mor y ‡ vwroedd y vynydd y meirw oeddent * yndi, ‡ a' myrfolaeth ac vffern y roisont y vynydd y meirw oeddent yndynt hwy: a' barny vo ne pob vn yn ol y gweithredoedd.

*marwolaeth, angeu
‡yr ei hyn
*twad, swnd
‡escenasont aethant y vyny
*crstra. i. cestyll, lluestai
‡ysodd, bwytaodd, dibaodd
*A' diabol
‡y bestfil
*geuoc
‡wynep wydd
*ciloedd
‡roes
*yntho
‡ac angeu

14 ‡ A' myrfolaeth ac yffern y bwriwyd y bwll tan: hwn ydiwr eil * myrfolaeth. ‡Ac angeu *angeu

15 A' phwy bynac ny chafad yn escrybenedic mewn Llyfr y bowyd y bwriwyd y bwll y tan.

## Pen. xxj.

3.24. Gwynvydedic cyflwr yr ei dywiol, 8. 27. A thruan helbynt yr ei andywiol. 11 A gwedd y Gaersalem nefawl, ac am wreic yr Oen.

AC mi weleis nef newydd, a' dayar newydd: cans y nef cyntaf, ar ddayar cyntaf eithont heybio, ac ni doedd dim moor mwy.

2 A' myvi Joan y weleis y dinas santaidd Caersalem newydd yn discin o'r nef oddiwrth Ddyw, gwedy y thrwsio mal priodasverch ar vedr y ‡ gwr. ‡eu,ei,i,hi

3 Ac mi glyweis lleis mawr allan o'r nef, yn dwedyd, Syna, * Tabernacl Dyw gyda'r dynion, ac ef y drig gydac hwynt, ac hwy y byddant bobyl yddo ef, a' Dyw y hun, y bydd y Dyw hwy ynghyd ac ynthwy. *lluestyy

4 A' Dyw y sych ymaith yr oll deigre oddiwrth y llygeid: ac ny bydd dim myrfolaeth mwy, na thristwch, na llefein, ac ny bydd dim poen mwy: cans y pethey cyntaf eithont heybiaw.

5 Ar vn y eisteddoedd ar yr eisteddle, y ddwad, Syna, yrwyf yn gwneythur pob peth oe newydd: ac ef y ddwad wrthyfi, Escrifena: can ys y maent y geiriey yma ru ffyddlawn ac yn gywir.

‡Alpha ac Omega
*rat

6 Ac ef y ddwad wrthyf, E dervy, mi wyf ‡ α ac ω, y dechreyad ar diwedd. Mi rrof yr vn y sydd sychedic, o ffynon dwr y bowyd yn * rrydd.

*digred, yr ei eb gredu
‡yr ei sceler
‡swynwyr, sibyldewyr

7 Yr vn y orchfyga, y geiff etifedy yr holl pethey, ac mi vyda Ddyw ydo ef, ac ynte vyd mab y miney,

8 Ond yr ofnoc, ar * anghredadwy, ar ‡ casddynion, a'r llyasswyr, ar pyteinwyr, ar ‡ cyfareddwyr, ar delw-addolwyr, a phob celwyddoc y tran hwynt y vydd yny pwll, ysydd yn llosgi o dan a' brymstan, yr hwn ydiwr eil myrfolaeth.

*Dyred, Degle

9 Ac vn or seith Angel, yrrein oeddent ar seith phiol ganthynt yn llawn or seith pla diwethaf y ddoyth attaf, ac ymddiddanoedd a mi, dan ddwedyd, * Dabre: mi ddangosaf ytti y priodasverch, gwreic yr Oen.

‡bynydd

10 Ac ef yn dugoed i ymaith yny ysbryd y ‡ lan ywchel vawr, ac y dangosoed y mi y dinas vawr, Caersalem santeidd, yn discin allan or nef oddiwrth Ddyw,

*crystallizanti
‡gaer, bur

11 A' gogoniant Dyw genthi, ac discleyrad hi oed debic y vaen gwerthvawrysaf, megis maen Jaspar * eglaer mal crystal,

‡plant

12 Ac yrydoedd yddi ‡ vagwyr vawr ywchel, a' doyddec porth iddi, ac wrth y pyrth doyddec Angel, ac enwey yn escribenedic, yrrein ydynt doyddec llwyth ‡ meybion yr Israel.

*Llat. murus.i.mur, gwal
‡sail

13 Ar barth y Dwyrein yr oedd tri phorth, ac ar du y Gogledd tri phorth, ac ar tu y Dehey tri phorth, ac ar y tu Gorllewyn tri phorth.

14 A' * magwyr y dinas oedd a doyddec ‡ gryndwal yddi, ac yndynt hwy enwey y doyddec ebostolion

lion yr Oen.

15 Ac yr oedd gan yr vn ymddiddanoedd a mi, corsen aur y vessyr y dinas, ae phyrth hi, ae magwyr hi.

16 A'r dinas y osodwyd yn bedwar ‡ochrog, ae *hud oedd cymeint ae lled, ac ef y vessyroedd y dinas ar corsen, doydec mil ‡ystod: ae hud, ae lled, ae hywchter 'sy yn ‡'ogymeint.

17 Ac ef y vesyroedd y magwyr hi, * pedwar cubyt a seith igein, wrth vessyr dun, * yr hwn yw, mesur yr Angel.

18 Ac adeil y magwyr hi oedd o vaen Jaspar, a'r dinas oedd aur pur, yn debic y wydyr gloyw.

19 A' grynndwal magwyr y dinas oedd gwedy y thrwsio a' phob rryw vaen gwerthfawr: y grynndwal cynta oedd maen Jaspar: yr eil o Saphir, y trydydd oedd o vaen Chalcedon: y pedwerydd Smaragdus,

20 y pymed Sardonix: y chweched Sardius: y seithfet Chrysolithus: yr wythfed Beryl: y nawfed Topazius: y decfed Chrysoprasus: yr vnfed ar ddec Hiacinthus: y doyddecfed, Amethystus.

21 Ar doyddec porth doyddec perl oeddent, a' phob porth 'sydd o vn perl, a' heol y dinas 'sy aur pur, mal gwydyr disgleyredd.

22 Ac ny weleis i vn demel yndi: cans yr Arglwydd Dyw hollallvawc a'r Oen, * yw y themel hi.

23 Ac nyd rreid yr dinas, wrth yr hayl, na'r lleyad y ‡ 'oleyo yndi: cans gogoniant Dyw y goleyoedd hi, a'r Oen yw y goleyni hi.

24 A'r bobyl cadwedic, y rrodiant yny goleyni hi:

*hyd
‡gogymetrol
*cant a'.44 cubydd
*ys ef
*est
‡lewychy, dywynu

a' Brenhinoedd y ddayar y ddugant y gogoniant, ae anrrydedd yddi hi,

25 Ac ny chayer y phyrth hi can * trwyr dydd: ny bydd ddim nos yno.

*ar hyd

26 A' gogoniant, ac anrrydedd, y Cenedloedd a ddücir yddi.

27 Ac nyd a y mewn yddi dim aflan, neu beth bynac y weythio * casineb, ney gelwyddey, ond y rei y escrifenwyt ‡ mewn Llyfr bowyd yr Oen.

*ffieiddbeth
‡yn

## Pen. xxij.

1 Afon dwfr y bywyt. 2 Frwythlawndep a goleuni dinas Dew. 6 Yr Arglwydd byth yn rhybyddio ei weision am betheu y ddyvot. 9 Yr Angel eb dynu ei addoli. 18 Gair Dew nyd tawn angwanegu dim arno na lleihau dim o hanaw.

A Cef y ddangosoedd y mi afon pur o ddwr y bowyd yn dysclaer mal y crystal, yn dyfod allan o eisteddle Dyw, a'r Oen.

2 Ynghanol y heol hi ac o ‡ ddwy ochor yr afon, yrydoedd pren y bowyd, yr hwn oedd yn dwyn doyddec rryw ffrwythey, ac y rroed ffrwyth pob mis, a'deil y pren a vvasanethei y iachay y nasioney.

‡bop-parth

3 Ac ny bydd dim * rrec mwy, ond eisteddle Dyw a'r Oen y bydd yndi, ae wasnaethdynion y wasnaethant arno ef.

*melltith

4 Ac

4 Ac hwy y welant y wyneb ef, ae Enw ef y bydd yny talceni hwynt.

5 Ac ny bydd yno dim nos mwy, ac nyd rreid ydynt dim canwyll, na goleyad yr haul: can ys yr Arglwydd Ddyw ysydd yn rroi yddynt goleyni, ac hwy y deirnasant yn dragywydd.

6 Ac ef y ddwad wrthyfi, Y geiriey hyn ydynt ffyddlawn a' chywir, ‡ ar Arglwydd Ddyw y proffwydi sanctaidd y ddanfonoedd y Angel y ddangos yddy wasnaethwyr y pethey ysydd rreid y gyflewni ar *frys.

7 Syna, yr wyf yn dyfod ar frys, *Bendigedic yw'r vn y gatwo geiriey proffedolaeth y Llyfr ‡yma.

8 Ac mi wyf Joan, yr hwn y weleis, ac y glyweis y pethey hyn: a' phan ddarfoedd ymi y clywed ae gweled, mi syrthies y lawr y addoli gair bron traed yr Angel, yr hwn y ddangosoedd ymi y pethey hyn.

9 Ac ef y ddwad wrthyfi, Gwyl na vvnelych: cans cydwasnaethwr yrwyfi a thi, ath frodyr y Proffwydi, ar rrei ydynt yn cadw geiriey y Llyfr hwn: addola Ddyw.

10 Ac ef y ddwad wrthyfi, Na sela geiriey pryffodolaeth y Llyfr hwn: can ys y mae'r amser yn agos.

11 Yr vn ysydd anghyfiawn, bid anghyfiawn ‡etto: ar vn y sydd *budr, bid ‡ budr etto: ar vn ysydd cyfiawn, bid cyfiawn etto: ar vn ysydd santeidd, bid sainteidd etto.

12 A' syna, yr wyf yn dyfod ar frys, am gobrwy y sydd

*a'r

‡fyr, yn fyan

*Gwynfydedic, dedwydd

‡hwn

*yn oyffiat

*vn ‡vo

ysydd gyd a mi, y rroddi y bob * duyn yn ol y ‡ vu-
tho y weithredoedd.

alpha a'r omega

13 Mi wyf α ac ω, y dechreuad ar diwedd, y cyntaf ac dywethaf.

*ir

14 Bendigedic yvv y rei, y vvnelo y'orchmynney ef, mal y gallo y cyfiawnder hwy vod ynhren y bowyd, ac y gallont dyfod y mewn trwy'r pyrth * yr dinas.

‡swynwyr, swynoglwyr, rhinwyr

15 Canys o'r ty allan y bydd cwn, ar ‡ cyfareddwyr a' phytteinwyr, a llyaswyr, a' delw-addolwyr, a phob vn y garo ney y vvnelo celwydd.

16 Mybi Iesu y ddanvones vy Angel, y dystolaethu y chwi y pethey hyn yn yr eglwysi: mi wyf gwreiddyn a' chenedlaeth Ddabydd, ar seren vore eglur.

17 Ar yspryd ar priodasferch ydynt yn dwedyd, Dabre, A'r vn y wrandawo, dweded, Dabre: A'r vn ysyd sychedic, doed: a'r vn y vyno, cymered dwr y bowyd, yn * rrydd.

*rrat ‡cytystio *angwanega ‡neb

18 Canys yr wyf yn ‡dangos y bob vn y wrandawo geiriey prophwydolaeth y Llyfr hwn, o * dyd *vn duyn ddim at y pethey hyn, Dyw y ddyd atto ef y plae, escrifenedic yny Llyfr hwn.

19 Ac o thyn vn duyn ymaith ddim o'eiriey'r Llyfr y proffedolaeth hon, Dyw y gymer ymaith y ran allan o lyfr y bowyd, ac allan o'r dinas santeidd, ac oddiwrth y pethey y escrifenir yn y Llyfr hwn.

20 Yr vn y sydd yn tystolaethu y pethey hyn, ysyd yn dwedyd, Yn siccir, yr wyf yn dyfod ar vrys. Amen. Velly dabre, Arglwydd Iesu.

21 Rrad eyn hArglwyd Iesu Grist y vo gyd a chwi oll, Amen.

# Tabul y gahel yr

*Epistolæ a'r Euangelon y ddallenir yn yr* Eglwys trwy'r vlwyddyn: y rhif cyntaf a ddengys rifedi yr ddalen y ceffir yr Epistol ynthei: a'r ail rhif y ddalen yn yr hon y mae'r Euangel yn escrivenedic: (a) arwyddoca y tu cyntaf ir ddalen, (b) yr ail.

## *Yr Epistolæ ár* Euangelion ar ddyddie'r Sainct.

FINIS.


Imprinted at London by Henry Denham, at the costes and charges of Humfrey Toy, dwelling in Paules church yarde, at the signe of the Helmet.

*Cum priuilegio ad imprimendum solum.*

Anno. 1567. Octob. 7.


201

# Y Beiæ y ddiangasant yn y print ac a ddleir ei correctio val hyn:

DAlen.2.Tu r ddalen.b.llin.4 tros genetloedd darllen genetlodd. * Ibid.14.tros genetloedd darllen genetlodd. Dal.3.tu.a.11.tros twyr darllen trwyr. Dal.3.b.13.ac ef y, darllen ag ef ai. Dal.4.a 17.tros af darllen ef: Dal.7.a.4.helltire, helltir ef. Dal.7.a.18.tros doro darllen dorro. Dal.8.b.12.tros yu ei, darllen yn ei. Dal.8.b.26. tros dirgeledig, darllen ddirgeledig. Dal.9.a.12. vaddeuoch, vaddeuswch: Dal.9.b.27.tros ymddilladwn darllen yrymddilladwn: Dal.10 b.1.tros guro darllen a guro. Dal.11.a.21. tros awturaw darlleu awturawd: Ibid.b.20.dailwug, dailwng: Dal.12.b.17.18. tros ddeisyfesont darllen ddrisyfesont. Dal.13.a.21.tros bechtae, bechotae. Ibi. a.30.tros ddoilfa darllen dollfa: Dal.15.a.2.ddwyetit, ddwetit. Ibi. b.4.tros =gagae darllen =gogae: ibid.b.11.a varwolaeth, i varwolaeth. Dal.18.a.10.tros ddalleuasoch darllen ddarllenasoch. Ibid.11.ddaeth, y ddaeth: Ibid.17.tros ddirgerydd darllen ddigerydd Ibid.b.7.tros chyodent, chyoeddent. Dal.19.a.16.ssrwyth, ffrwyth. Ibid.b.9.tros ac ac darllen ac. Dal.20.a.28.drugiensed, drugeinfed. Ibi.b,5. helacthrwydd, helaethrwydd. Dal.21.a.24.tros gyddtysu, gydtyfu: Dal. 22.a.6 tros vergaritaetec darllen vargaritae tec. Ibid.7.tros iddo ei, iddo ef. Ibid.12.tros a chlascy darllen a chasgly. Dal.23.b.16.17.tros atpawdd, atepawdd. Dal.25.a.10.Hichac, Hithae. Dal.28.b.11. tros bachenot, bachcenot. Dal.32.b.13. tros gwydoch darllen gwyddoch. Dal.33.b.12.ddyinchlawdd, ddymchwelawdd: Dal.35.a.25.tros atepawd darllen atepawdd: Ibi.b.5.ladwyc, a laddwyt, Ibi.b.21. uid, nid. Dal.36.a.22.tros gyd nyni, gyd a nyni. Dal.37.a.19.20.ymplae, ymplaec Ibid.21.22.tros santeiddion ir, darllen santeiddio ir. Ibi.b. 23.an d pynnac, and pwy bynnac: Dal.39.b,22.tros leuad, lleuad Dal. 41.a.11.tros dyu, dyn: Ibi.b.13: gweddyt, gwyddyt: Ibid.17.tros hwu darllen hwn: Ibid.29.Brenhiu, Brenhin: Dal.43.a.24. tros Ac, Ae ne ai: Dal.44.a.16: aech, aeth: Ibid.b.30.tros ddescyw, darllen ddestryw: Dal.45.b.15.rhoeant, rhoesant: Dal.47.b.2.ddwesont, ddwetsont. Dal48.a.7.tros ffwrd, darllen ffwrdd: Ibi.b.3.tros nyd ef, darllen nyd yw ef: Dal.52.a.26.tros phecadurieid, phechadurieid: Dal.53.a.10.tros dysawiliesont, darllen dysgwyliesont: Dal. 54.a.4.tros ddygon, ddichon: Ibi.b.14.tros gadaw, gadawdd. Dal. 56.b.15.tros bodwyt, darllen boddwyt: Dal.59.b.4.ddimasoedd, ddinaswedd. Ibid.14.tros ydddyn, vddyn. Dal.64.b.25. tros dioddesaf, darllen dioddefaf: Dal.67.a.12.tros swrithyn, swrthyn: Ibi.b.22.ddynot, ddyvot: Dal,71.a.22.tros adgyydant, adgyvodant: Dal.74.b. 24.25.tros anesir, darllen anesit: Dal.75.b.11.tros ysid, ysydd: Ibi. 18.tros delisswch, deliwch: Ibid.20.dynot, ddyvot: Dal.76.a.24. tros Ai ti Christ, darllen Ai ti yw Christ: Ibi.b.9.tros dwyt, darllen swyt neu ydwyt: Dal.80.b.13.tros Aingel, Angel: Dal.81.a.14.vynedd, vyned: Ibid.27.tros kyntyrfu, kynhyrfu: Dal.82.b.26.tros

* sef yn yr vn ddalen, ar vn tu dalen.

gwybyddlaeth, darllen gwybyddiaeth: Dal. 83. b. 15. tros nefoedd, darllen nef: Dal. 84. a. 21. tros om, darllen vy: Dal. 85. a. 6. tros ddaeth, darllen y doeth: Dal. 86. a. 5: tros gygcori, gyncori: Ibid. 18. decherawdd, dechreuawdd, ddec, dec: Ibi. b. 13. cythrauliett yn: Dal. 87. b. 20. tros meon, darllen newyn: Ibid. 29. tros daroedd, darfoedd: Dal. 88. b. 3. tros ymddaith, ymaith: Ibid. 23. tros dringawdd, ddringawdd Dal. 89. b. 9. tros yn, darllen or: Ibid. yn, or: Dal. 90. a. 24. tros bwta, darllen bwyta: Ibi. b. 4. tros llestrir, llestri: Ibi. 21. tros rhuglo, rhwbio: Dal. 90. a. 11. fafawd, safawdd: Dal. 91. a. 28. gwynuydyd darllen gwynvydydd: Dal. 92. a. 26. darllen ychwi: ychwi: Ibi. b. 4. 5. ysydd ysydd: Dal. 94. a. 22. tros yd anfonaf, darllen danfonaf: Ibi. b. 9. tros ganthaw, darllen ynthaw: Dal. 95. a. 3. tros oi, i: lin. 4. tros illddau, illdau: Ibi. 24. tangweddyf, tangneddyf: Dal. 96. a. 5. tros ddebyniant, dderbyniant: Ibi. 13. anmynedd, ammynedd: Ibid. b. 11. tros orchymeu, orchymyn: Dal. 97. b. 29. tros bachenes, bachcenes: Dal. 99. a. 3. tros bwyto, bwyta: Dal. 101. a. 19. tros gwediwch, darllen gweddiwch: Ibid. 28. bethrae, bethae: Ibi. b. 11. tros dinas, darllen ddinas: ibid. 15. lluto, lludw, llyty: Dal. 102. 1. 5. tros dadgudiaist darllen dadguddiaist: Dal. 103: b. 1: ddaech, ddaeth, neu ddoeth: Dal. 105, a: 26. tros y Prophwyti, darllen yr oll Prophwyti: Dal. 106: b. 24 tros y un, hun: Dal. 109: a. 19. tros dy, ey nei ci: Dal. 110. b. 10. tros ostystinger, darllen ostyngir: Dal. 111. a. 24: ddygon, ddichon: Dal. 112. a. 31. tros roi, roe: Dal. 112. b. 26. tros oll, darllen llo: Dal. 114. a. 29. tros wynwyd, wynvyd: Dal. 115. a. 9. ac a dwedech wrth y pren sycamin hwn, ymddadwreiddia ac ymblanna yn y mor, ys vfuddhay ef ychwy. Dal. 115. b. 18, tros yuo, yno: Dal. 116. a. 8. 9. a phwy yynac Dal. 118. b. 19. dy ddarn. ibi. 26. dy darn, dy ddarn: Dal. 122. a. 19. tros prydereth, prydferth: Dal. 123. a. 15. tros gos, agos: Dal. 124. b. 14. tros dauddecllwyt, dauddecllwyth: Dal. 125. a. 11. 12. tros ys mut, darllen ysymmut: ibid. b. 14. tros tan, y tan: Dal. 126. b. 23. tros gywdawddwyr. gywdawdwyr: Dal. 127, b. 23. yscrivenyd, yscrivenyd: Dal. 128. a. 14. tros sicur, darllen sikir: Dal. 132, a: 30. tros Ioan, darllen Ioan drechefn ac: Dal. 133: a. 31. ne dri, darllen ne dri bob vn: Dal. 134. b. 4. ddygon, ddychon: ibid. 12. y byd, y bydd: Dal. 135. a. 25. ad Ioan, darllen ad neu at: Dal. 136. a. 2. deth, doeth: ibid. 24 tros aniufailitid, darllen anifailieid: Dal. 139. b. 1. dy testiolaeth i yn gywir. y mae vn arall yn testiolaethu o hanovi, a mi a wn vot yn wir y testiolaetha ef o hano vi. Dal. 139. b. 5, ganwyl, darllen ganwyll: ibid. 23. tros a deaw, a ddaw: Dal. ibid. 24. enw hun, darllen enw ei hun: Dal. 143 b. 28. 29. tros Casalen, Caerusalem: Dal. 145. b. 12. Cy, darllen Cyd: Dal. 146. a. 1. tros ydd vi, ydda vi: Dal. 149. a. 11. y syganei, darllen ys ynganei: Dal. 151. a. 25. tros thankwydda, thrankwydda: Dal. 154. a. 8. micael, darllen miracl: Dal. 155. a. 23. tros dywedddawd, dyfwedawdd: Dal. ibid. b. 21. vo-traed, darllen vy-traed: Dal. 159. a. 11 tros (herh) darllen beth: Dal. ibid. b. 13. y Pthe, y Pethe: Dal. 164 b. 22. tros Palmaut, Palmant: Dal. 167. a. 7. tros discipnion, darllen discipulon: Dal. 175. b. 28. tros iawu, iawn: Dal. 177. b. 26. tros arch-

darllen

# Correctiat.

darlleu (arch=): Dal.179.a.18.tros Stepha nyn, darllen Stephan yn:
Dal.182.b: 7.ar yn, ar yr: Dal.188.a.2.tros yn yn derbyn, yn derbyn:
Dal.190.a: 27.28 ddisriol, ddisrifol: Dal.195.a.5. tros e Antiochcia,
darllen o Antiochcia: Dal.199.a: 11. bewchenogaeth, berchenohaeth
Dal.ibid.b: 21: tros Grocyeit, Grecceit: Dal. 204. b.19. ddygon,
darllen d dychon: Dal.207.a.13.14: tros dilwythwrhwyd, dilwyth=
wyd: Dal.208: b.13: rreddodd, rredodd: Dal.210: a.26: lladd, dar
llen ladd: Dal.ibi.b.1: tros malydd, mal ydd: Dal.211.b.13: ymglas=
cawdd, darllen ymgasclawdd: Dal.ibid.11.tros arwadocay, arwyddo=
cay: Dal.223.b: 11. galamasora, galanasdra: Dal.225.b.15. mwngl,
dar llen mwnwgl: Dal.238.b.13.tros varu, varn: Dal.239.b.14.ogo
nant, oganant: Dal.244.a: 24. Euadgelu, Evangelu: Dal.246.a
7: tros gweinigogion, darllen gweinidogion: Dal. 248. a.1: ymchy=
ddo, ymchwyddo: Dal.253.b.9.vurnurwch, vurmurwch: Dal.254
a.10.peht, darllen peth: Dal.255.a.4: tros mae mae anglod, mae an=
glod: Dal.256: a.1: Mellach, darllen Wellach: Dal, ibid.22. tros
propwydoliaeth, prophwydolieth. Dal.ibi.b.13.llygod, llygad. Dal.ibi.
16.17.tros aebodae, darllen aelodae: Dal.259. a.14. propswyto, dar=
llen prophwyto. Dal.267.a.18.Duw, Dduw. Dal.ibi.b.4.ys yd, dar
llen (ys ydd). Dal.ibid.30.ddeisu, ddeisyfu. Dal. 269. a.5. tros ein
probi, ein probi. Dal.270.b.20.21.cheaeth, darllen chelaeth. Dal.272
a.16.gorvordd, gorvoledd. Dal.274.b.11.tros baydwyd, bayddwyd
Dal.ibid.28.celwyd, darllen celwydd. Dal.275.b.1.dairglwaith, dar=
llē dairgwaith: Dal.276.b.24.tros ymgofforddiwch, ymgonfforddiwch
wch. Dal.284.a.3.tros yn yn gwneuthur, yn gwneuthur. Dal.285.b
19.ein eich, neu ych: Dal.289.a.7.tros cyfrauwnder, darllen cyfiawn
der: Dal.295.a.12: tros amgeu, angeu. Ibid.27.gogclwch, neu go=
chelwch. Ibid.b.13.tros cfrif, darllen cyfrif: Dal. 299. a. 6.ydd yw,
neu yddwy. Dal.300.b.22. tros anuvudddod, darllen anuvudddod.
Dal.302.a, 15.tros oystastol, oystadol: Dal.309.a.17.18.tros chredr=
ent, chredent. Ibid.b.23.ymdymu, ymdynu. Dal.313.a.4.cymal, dar=
llen cynnal. Dal.315.a.4.gwethwr, gweithwr. Dal.317.b.2. tros vy=d
wyaw, vy=dwylaw. Dal.327 b.8.9. tros ac awrhon, ac yr awrhon.
Dal.329.b.20.yn y myned, yn myned. Dal.330.a.25.fod dybygu, dar
lleu fod tybygu. Dal.332.a.1.tros mabanyw yw, maban yw. Ibid.b
16.tros ddiwdrwydd, neu ddiwydrwydd. Dal.335.b.5.byd, hyd. Ibi.
22.tros y gyntaf, yn gyntaf. Dal.336.b.15.chysegrywdd, chysegrwyd.
Dal.337.b.7. geisr, geifr. Dal.338.b.5.yssn r, darllen yssa r. Dal.339
a.27.tros testlauthn, testlaethu. Dal.341.b.28.(copai) darllen (cospai)
Dal.343.b.5.milsrydd, milfydd. Dal.348.b.24.tros censtgenuu, dar
llen censigenu. Dal.353.b.30.odinhad, ordinhad. Dal.357, b.11.wybo,
wybod. Dal.366.a.6.tros dostri, dosturi. Dal.369. b.3.yngeu, dar=
llen yngeneu. Dal.371.a.2.rragordino, neu rragordeinio. Dal.373.b.
20 tros Cencloedd, Cenedloedd. Dal.374.a.10. tros canwylbren, dar
llen canwyllbren, Ibi.b, 19. gellwddog, gelwddog. Dal.375.a.6. pa=
radybys, pradwys. Dal.378, b.27.tros ddardlen, ddarllen. Dal.379.
a.21.thyrnaswn, darllen deyrnaswn. Ibid.25.tros dywdyd, dwedyd.

# ☞ The Faults escaped in the Preface to the Quenes Maiestie.

For Prince, ye may reade Princesse: for I wot what, reade I wot not, what: for so I come before, reade, so come before.

## *Apologi neu Atep am y Beiæ y mae 'r ei yn cael yn Epistol Episcop Menew.*

HY gyntaf y dywedant bot yn afreidiol yddo dywedyt y geirieu hyn yn envvedic y bop map eneit dyn o vevvn ej Escopavvt. Ei beddwl yntef (cyd bei yn damuno llesiant ysprytawl ir Cembru oll) yw yn enwedic gofalu am yr eidys y dan gur ai olygaeth y hun, yn ol dyval 'orchymyn Christ, ys ef Porth, porth, porth, vy-devait. &c. A' lle mae 'r ei yn beio ar y gair Escopavvt, cyffelyb yw yn aill ai y bot e yn ddehenic yn y Deheuparth, ai darllen o hanaw ef y gair yn rryw historia awduredic. Eraill nyd ynt yn bodlawn ir geirieu hyn Yn gymeint am bot i yn gwybot, gan ddywedyt mae phras Sasonic yw hi. A' pha am pe byddei, y mae hi gwaeth a's dyellir, ac ad yw arferedic yn-Camberaec? Un arall a dywedei may segur yw'r geirieu hyn lle ny's gvvelais am llygait, eithyr yr Escop ys ydd yn gwneu megis dan ryw wybodaeth, un drwy welet ai lygait yn llawer lle yn Germania: y llall, ddarllen or peth. Eraill, a'r nyd ynt nag yn adnabot dysc y gwr, nai ysgrifieth ef wrth yr andyscedic, a beient am yddo dywedyt Germania vavvr a'r Almaen, mal petei ef trwy andyall yn gwneuthur dwy wlat or ddau 'air, lle may yntau per Epexegesin yn dwyn ar ddyall ir andyallus pa wlat yw Germania. Yn yr un phras yr yscrivena S. Paul--Duvv a' That ein Arglvvydd Iesu Christ. Ac er bot y cyssylltiat (a') rhwng Duvv a' That nyd oes un Christian yn ameu nad yr un yw Duw a' Thad ein Arglwydd Iesu Christ. Eraill yn bwy dichellgar na diledrith a ddywedant nad celfydd y dodes ef y gair gelyn cy gynted: eb yddynt

ysgrifed

ysgyried nad yw of ar vedr hudo na denu·nep y ddarllen dim amgen yn-cenol neu yn-dywedd ei Epistol nag in Exordio yn y dechreu. Eraill eb adnabot cwyl arwyddocat ac amrywgymeriat y geiriae, a dywedent may ysgafu yw'r ddauair hyn salvv, tremia: ef e ys ydd yn meddwl yina wrth y gair salvv may brwnt, diffaith, dihir neu wrthyn ganthaw. &c. yr hyn ys ydd yn magu yntho drymder, tristic a dolur: mal y festia ef ychydic yn ol yn y gairieu hyn na chvvanega mvvy om dolvvr. A' thuac at am y gair tremia, ef a arwyddaca suspicere edrych i vyny. Eithyr bit hyn digon yr awrhon am hyn o querelae. Ac am veieu'r print, yn y tu dalen cyntaf ar. xviii. llin tros 'orunchafieth darllen 'oruchafieth neu 'orchafieth: yn y ddecvet ddalen a'r. xiiii. llin, darlleer vedryvn tros vedvvn. Ac yn yr. xl. dalen a'r ail tu ac ym mytr Merddin y mae deffic y trydydd ban, yr hwn oedd yn y Copi val hyn,

Yd vvnant pennaetheu·geu gyfescus.

Ac am a gaffo'r darlleawdr eb law hynn o veieu, byddet mor voneddigaidd ai maddeu y n y gaffo ymddiddan a'r Autur y vnan. Y tu dywethaf ir ddalen a'r drydedd llin tros yn Gymraec yn, a'r: darllen yn Gymraec yn print-a'r. &c.

# Y Beiæ a ddygwyddawdd ym-print

## Llythyr-anerch W. S.

Tros yn yn darllener yn: tros phentyn, phlentyn: tros gvvenyddu, darllener 'vvenyddu: ac yn lle llaethwyt a'llaethpvvyt, llaethvwyt: yn lle bacavyt, darllener baravvt.

Gwyddoræ.o amravael lythyræ er adnabot yn espesach y gairiae y ddodwyt yn llanw yn y Text er eglurhau y dyall yn ein Iaith ni: neu gyfryw 'airiae (a's dywedit yr iaith yn perffeith) a ellit eu gadu allan: val yn yr ymadrodd hwn, I ty di Petr. Y di yma a ellit ei vadden, neu 'r cyfryw 'air lle ny bo emphasis neu ragorawl 'rym dirgeledic yn yr ymadrodd, megis I ty di Dduw y bo'r mawl, yr anrydedd a'r gogoniant yn oes oesoedd.

AA. BB. CC. DD. EE. FF. GG. HH. II. KK. LL. MM. NN. OO. PP. QQ. RR. SS. TT. VV. WW. XX. YY. ZZ.

aa. bb. cc. dd. ee. ff. gg. hh. ii. kk. ll. mm. nn. oo. pp. qq. rr ss. tt. uu. ww. xx. yy. zz.

¶Reol ver er mwyn dirwystro y sawl ny buont gynefin ac arver or cyfryw ffigurae ar ei hyn vchot: with yr hon y gellir dyscu adnabot eu cyfrif o 1, i 100000, ys ef o vn y ganmil.

ix viij vii vj v iiij iij ij i.

Naw amryw ffygur ys ydd, nyd amgen 9 8 7 6 5 4 3 2 1. y ddecvet a elwir Sipher, ac ys ydd or llun hyn o: yr hwn o hano y hun nyd arwyddoca bych ddim cyfrif, amyn peri ir llaill angwanegu ei cyfrif a wna ef: can ydd o wrth gadw lle godi cyfrif amandl y ffigurae. A'chwipl angenraid yw gwybot trefn a gosodiat y lleoedd: yr ei ny chyfrifir, yn ol y darllenat cyffredin, y wrth y llaw asw tu a'r ddeheu, anyd y wrth y ddeheu tu a'r aswy. Esempl. 1567. 7 ys ydd yn y lle cyntaf: 6 yn yr ail lle: 5 yn y trydydd 1 yn y petwerydd. Ac er hyny wrth enwi y swm, o asew y ddeheu, ys ef or swmp mwyaf ir lleiaf y darllenir.

Reol

# Reol vydd rraid ei gwybot
yn vevyr er darpar hyn.

Pop ffigur yn y lle cyntaf, a arwyddoca
ei chyfrif y hun yn vnic: megis. 11. xi.
Pop ffigur yn yr ail lle, a arwyddoca
y chyfrif y hun ddec waith: megis. 10. x.
Pop ffigur yn y trydydd lle, a arwyddoca
gant cymeint ai rhif ei hun: megis. 100.
Pop ffigur yn y petwerydd lle, a arwyddoca
mil oi gyfrif y hun, mal hyn 1000.
Pop ffigur yn y pempet lle ys ydd gymeint a dec mil
oi chyfrif y hun, megis hyn 10000.
Pop ffigur yn y chwechet lle a dal gant mil oi
rrivedi ei hun val hyn 100000.

¶ Reol arall am yr vnryw ystyriaeth yr hon
ys y verach a haws ei dyasl.

Er mwyn hyn o vyrhat gairieu a' hawsaat dyall, galwer y lle cyntaf vn: bid enw yr ail lle dec: enw y trydydd, cant: enw y petwerydd, mil: enw y pempet, dec mil: ac enw y chwechet cant mil. &c. Ac velly nyd raid ytty anyd edrych rrif naturiol y ffigur, a' rroi atei enw y lle y bo hi ynthaw, a medrech ettus ar yr iawn gyfrif. Ac er esempl. 1567. yr hynn y ddeonglir val hynn, 1 vnmil yw: 5 pemp cant: 6 chwech dec: 7 saith vn. A' rrif dywethaf yma a ddyellir yn haws, o drol'r ymadrodd a' dywedyt mal hyn saith vn, yw vn saith, ac vn saith a allwn yn saith eb vn gair ettyn. Ac a dyscy di gymeint a hyny o gyfrif, gwybydd y cetty vwy o vlwyniant y wrthaw nac a ellir y venegi ac ychydic 'airiae; ac am hyny ymofyn, dysc, a' chadw ith cof.

¶ Tor ymaith hyn o ddarn papyr y gyd a'r cyfrifon, a dod yn gym=mesur ar bop tu dalen y mae r bai y[illegible]: a'r rrif cyferbyniol a ddengys ytty yn gyworchiol y llin y bo r bai yndei. Y Reol hon ys ydd angenreidiol i [illegible] tu dalen lle may dec fic cwpl niver y lliniae.

i
ij
iij
iiij
v
vj
vij
viij
ix
x
xj
xij
xiij
xiiij
xv
xvj
xvij
xviij
xix
xx
xxj
xxij
xxiij
xxiiij
xxv
xxvj
xxvij
xxviij
xxix
xxx
xxxi

